8 Weithiau a codai'r dwfr yn fryn:
weithiau fel glyn panylent,
Lle trefnaist iddynt bannwl cau;
ac weithiau a gorphwysent.
5
9 Gosodaist derfyn lle'r arhônt,
ac fel nad elont drosto:
Ac na ddelont mŷw dros lawr
y ddaiar fawr, iw chuddio,
10 Rhoes Duw ffynnon i bôb nant,
a phawb a ysant beunydd:
A rhêd y ffrydau rhŷd y glynn,
rhwng pôb bryn a'u gilydd.
6
11 Yfiff yno anifeiliaid maes,
affynnod myng-laes gwylltion,
Heb ymadel a llawr y nant,
hŷd onid yfant ddigon.
12 Ac adar awŷr dônt garllaw,
i leisiaw rhwng y coedydd:
Yn canu ei fawl o bren i bren,
cŷd byngciau llawen ufydd.
7
13 Dwfr ar fynyddoedd lle ni ddaw,
fe wlŷch a glaw oddiarno:
A'r gwastad dîr efe a'i gwlŷch,
bôb grwn a rhŷch i ffrwytho.
14 Parodd i'r gwellt dyfu wrth raid
anifeiliaid: a'r llysiau,
Er dâ i ddyn: Lle rhoes o'r llawr,
ymborthiant mawr rhag angeu.
8
15 A gwîn llawena calon dyn,
ag olew tywyn wyneb.
A bara nerthir calon gŵr,
mewn cyflwr digonoldeb.
16 Prenniau'r Arglwydd o ffrwyth llawn,
o'i unig ddawn a tyfon.
Y coed cedrwydd brigog mawr,
a roes e'n llawr Libanon.
9
17 Lle mae nythod yr adar mân,
mewn prenniau glân cadeiriog:
Lle mewn ffynnidwydd glwyswydd glyn
mae tŷ'r aderyn bywiog.
18 Y mynydd uchel a'r bryn glâs,
yw llwybr danas fychod:
Ogof yr hyll-graig a wna lês,
yn lloches i'r cwningod,
10
19 Fe roes i'r llenad i chwrs clau,
a'i chyfnewidiau hefyd:
A'r haul o amgylch y Bŷd crwn,
o godiad hwn iw fachlŷd.
20 Tywyllwch nôs a roed wrth raid
i fwystfiliaid y coedydd.
21 Y llewod rhuant am ymborth,
gan Dduw o gymorth beunydd.
11
22 A chwedi cael yr ymborth hyn,
pan ddêl haul attyn unwaith,
Ymgasglant hwy i fynd iw ffau,
ac iw llochesau eilwaith.
23 Y prŷd hwn cyfyd dyn iw waith,
ac iw orchwylliaeth diwyd;
Ac fellu yr erys tan yr hwyr
lle a caiff yn llwyr ei fywyd.
12
24 O Dduw, mor rhyfedd yw dy waith
o'th synwyr perffaith tra-doeth!
Gwnaethost bôb peth, a doethder dawn,
a'r tîr sŷ lawn o'th gyfoeth.
25 I'r llydan fôr, y dwfr a'm lŷsg,
lle mae'r pŷsg yn llammu:
Lle a neidiant, yn ddifeth,
o bôb maintioleth fellu.
13
26 Yno yr â y llongau glân
dros Lefiathan heibio.
Yr hwn 'osodaist di, lle mae
yn cael ei chwarae yntho.
27 Hwynt disgwyliant, yn ei brŷd
gael oddiwrthŷd borthiant:
I dderbyn dy rôdd, ymgasglu ynghŷd,
am eu bywŷd byddant.
14
28 Duw, pan agorech di dy law,
oddiyno daw daloni:
Pôb anifail, a phôb rhŷw beth,
a ddaw yn ddi-feth i ni.
29 Pan guddiech di dy wyneb-prŷd,
a thynnu d'yspryd allan,
Crynant, trengant, ac ânt iw llwch,
mewn diwedd trwch, a thrwstan.
15
30 Duw, pan ollyngech di dy fâd,
fel rhoddi cread newydd,

Y mòdd hwn wyneb yr hôll dir
a adnewyddir beunydd.
31 Ir Arglwydd gogoneddus fydd
drwy fawr lawenydd bythoedd.
Yr Arglwydd yn ddiammeu a fêdd,
orfoledd yn y nefoedd.
16
32 Ein Duw o'r nêf a edrych ar
y ddaiar, a hi a ddychryn,
Os cyffwrdd a'r mynyddoedd draw,
y mwg a ddaw o honyn.
33 Canaf i'r Arglwydd tra fwy byw,
canaf i'm Duw tra fythwyf:
34 Mi lawenhaf yn fy Iôn,
bydd ffyddlon hyn a wnelwyf.
17
35 Y trawsion ôll, o'r tir ânt hwy,
ni bydd mwy'r annuwiolion:
Fy enaid, mola Dduw yn rhôdd
mae hyn wrth fôdd fy nghalon.

## PSALM. 105.

1
CLodfored Pawb yr Arglwydd nêf,
ar ei enw ef a gelwch,
A'i weithredoedd ymysg pobloedd,
yn gyhoedd a fynegwch
2 Cenwch ei gerdd, clodforwch hwn,
a'i ddidwn ryfeddodau.
3 Y rhai a gais ei enw, (y Sanct)
llawenant eu calonnau.
2
4 Ceisiwch yr Arglwydd, a'i nerth mawr,
a'i fôdd bôb awr yn rhadlon,
5 Cofiwch ei hôll ryfeddodau,
a barn ei eneu cyfion.
6 O hâd Abraham ei wâs fô,
o feibion Iago yr ethol:
7 Ef yw'n Duw, a'i farn ef aeth
dros hôll hiliogaeth fydol.
3
8 Bôb amser cofiodd ei gyngrair,
ei air, a'i cwym ammodau
9 Ag Abraham, Isaac a'u hil,
a mîl o genedlaethau.
10 Fe roes i Iago hyn yn ddeddf,
ac yn rhwym greddf dragwyddol.
11 Ac i Israel y rhoes lân
wlâd Canaan yn gartrefol.

4
12 Pan oedd anaml iawn eu plaid,
a hwy yn ddieithraid ynddi;
13 Ac yn rhodio o'r wlâd i'r llall,
Yn dioddef gwall, á chledi:
14 Llesteiriodd iddynt gam yn dynn:
o'r achos hyn brenhinoedd,
A geryddodd yn eu plaid:
a'i air a gaed yn gyhoedd.
5
15 Am eneiniog na chwrddwch:
na ddrygwch fy mhrophwydi.
16 Galwodd am newyn ar y tîr.
yn wîr dug fara o honi.
17 Oflaen ei blant gyrrodd râs,
Joseph yn wâs a werthwyd.
18 A'r ei draed rhoed haiarn tynn,
mewn gefyn a cystuddiwyd.
6
19 Gwisgodd y gefyn hyd y byw,
nes i air Duw amseru:
Drwy Dduw a cafodd ef ryddhâd,
a phrifiad ar ei garu.
20 Yna gyrrwyd iw gyrchu fo
gar bron hên Pharo frenin:
Ac a gollyngwyd ef ar lêd,
o'i gam gaethiwed rhy-flin.
7
21 Ac yno ei osod ef a wnaeth
yn bennaeth ar ei deuly,
Ac o'i hôll gyfoeth ef, a'i wlâd,
ond dâ fawr-hâd oedd hynny.
22 I ddysgu rheolwyr ei lys
ei wllys a'i fodlondeb:
I fforddio henuriaid yr hôll wlâd,
yn wastad mewn doethineb.
8
23 Daeth Israel i'r Aipht tîr Ham,
lle'r oedd yn ddinam estron;
24 Lle llwyddodd Duw hîl Iago bâch
yn amlach na'i caseion.
25 Yna troes eu calon gau,
i lwyr gasau ei bobloedd:
Iw weision ef i wneuthur twyll,
a llid (nid amhwyll) ydoedd.
9
26 Duw gyrrodd Foesen ei hên wâs,
ag Aaron o râs ddewisol.

27 Yn nhir Ham i arwyddhau
ei nerth, a'i wrthiau nodol.
28 Rhoes Duw dywyllwch dros y wlâd,
er hyn ni chaed ufudd-dod.
29 Eu dyfroedd ôll a droed yn waed,
a lládd a wnaed eu pysgod.

10

30 Iw tîr rhoes lyffaint, heidiau hyll,
yn 'stefyll ei brenhinoedd:
31 Daeth ar ei air wybed, a llau,
ymhôb mannau o'u tiroedd.
32 Fe 'swriodd arnynt genllysg mawr,
a thân eu llawr a losgodd;
33 Eu gwinwydd, a'u ffigyswydd mâd,
a choed y wlâd a ddrylliodd.

11

34 Ceiliogod rhedyn, a lindys brwd,
yn difa cnwd eu meusydd,
35 uwchlaw rhif, drwy ŷd, gwellt, gwair
a hyn drwy air Duw ddafydd.
36 Y cyntaf anedig, pôb pen llwyth,
a'u blaenffrwyth ef a drawodd;
Ymhôb man drwy dîr ei gâs;
ei bobl o'l râs a gadwodd:

12

37 Ac a'u dug hwynt yn rhydd mewn hedd,
o ewinedd eu caseion,
Heb fôd o honynt un yn wan,
ag aur ac arian ddigon.
38 A llawen fu gan wyr y wlâd,
o'r Aipht pan gaed eu gwared:
Daeth arnynt arswyd y llaw grêf,
a ddaeth o'r nêf i wared.

13

39 Rhoes Duw y dydd gwmmwl uwchben,
fel mantell wen a tôawdd,
A'r nôs goleuodd hwynt a thân,
fel hyn yn lân a twysawdd.
40 Fe a roes iddynt ar y gair
gig sofl-Iair, iw bodloni:
A bara, o'i orchymmyn ef,
a ddaeth o'r nêf iw porthi.

14

41 Holltodd y graig, daeth dwfr yn llif,
fel pe baent brif afonydd:
Rheddodd yn genllif, a rhoes wlych
rhyd pôb lle sych o'r gwledydd.
42 Cofio a wnaeth ei air, o'l râs,
i Abram ei wâs ffyddlon.
43 A thrwy fawr nerth, yn rhydd o gaeth
a gwnaeth ei ddewisolion.

15

44 Tir y cenhedloedd iddynt rhos,
a'u llafur troes iw meddiant:
45 Er cadw ei air, a'i gyfraith ef,
rhowch hyd y nêf ei foliant

PSALM. 106.

1

MOlwch yr Arglwydd, canys dâ yw,
moliennwch Dduw y llywydd:
Oblegid ei drugaredd fry
a bery yn dragywydd.
2 Yr Arglwydd pwy all draethu ei nerth,
a'i hôll brydlawnferth foliant?
3 A wnêl gyfiawnder gwyn eu byd,
ei farn igyd a gadwant.

2

4 O Arglwydd, cofia fi dy wâs
yn ôl dy râs i'r elddod:
Ymwel a mi mewn cystudd caeth,
a'th iechydwriaeth parod.
5 Fel a gwelwyf, (ac a llawenwyf)
wych urddas d'etifeddiaeth,
Ac a cydganwyf fawl un dôn,
a'th ddewisolion odiaeth.

3

6 Pechod, camwedd, ac annoethedd,
gwnaethom gyda'n tadau:
Fe a gaed arnom ormod gwall,
heb ddeall dy fawr wrthiau.
7 Yngwlâd yr Aipht, wrth y môr côch
yn gyndyn grôch anufydd:
Heb gofio amled fu dy râs
haeddasom atcas gerydd.

4

8 Etto er mwyn ei enw ei hun,
Duw gwyn a ddaeth i'n gwared:
I beri i'r Byd gydnabod hyn,
ei fôd ef cyn gadarned.
9 Y dyfn-fôr côch, a'i ddyfrllyd wlych,
a wnaeth e'n sych iw geurydd:
Trwy ddyfnder eigion aent ar frys,
fel mynd rhyd ystlys mynydd.

5

10 Fel hyn a dug hwynt trwodd draw,
o ddwylaw eu caseion:

Ac a tywyſodd ef ei blant
o feddiant eu gelynnion.
11 Y dwfr a guddiodd yr Aipht ryw,
nid oedd un byw heb foddi:
12 Yna a credent iw air ef,
a'i gerdd hyd nef ae'n wiſgi.
6
13 Er hyn tros gôf mewn amſer byrr,
a rhoent ei bybyr wrthiau:
Heb ſefyll wrth air un Duw Iôr,
na'i gyngor, na'i ammodau.
14 Ond cododd arnynt chwant a blys,
yn y dyrys anialwch:
Gan demptio Duw a rheibus fol,
ynghanol y diffaethwch.
7
15 Rhoes iddynt lenwi eu hôll flys,
rhoes an-nhycciannus aflwydd.
16 Lle digient Foses wrth eu chwant,
ac Aaron Sant yr Arglwydd:
17 Egorae'r ddaiar yn y man,
a llyngcai Ddathan ynfyd:
Ac a dderbyniodd i'r un llam,
hôll lu Abiram hefyd.
8
18 Ac yn ei ddig enynnodd tân,
yn fuan yn eu canol:
Llosgi y rhain, eu terfyn fu,
yn ulw, y llu annuwiol.
19 Yn Horeb gwnaethant dawdd-lûn llô
ac iddo ymgrymmaſant:
20 I lun llô a borai wellt mân,
a troeſan eu gogonlant.
9
21 Anghofient wrthiau Duw ar hynt,
( a faſeu gynt achubwr )
22 Yngwlâd yr Aipht. Môr côch, tir Ham
heb feddwl am eu cyflwr.
23 Dwedodd mai eu difetha wnae
oni bae iw wâs moeſen
( Drwy ſefyll o'u blaen yn ei lid malth )
droi ymaith eu drwg ddiben.
10
24 Dirmygent hwy y prydferth dir,
ac iw air gwir ni chredent:
25 Ond yn eu pebyll grwgnach drô,
ac arno ni wrandawent.
26 Yno derchafodd Duw ei law,
iw cwympio draw 'n 'ranialwch:
27 Rhyd tiroedd, a phobloedd anghu,
iw tanu mewn diyſtyrwch.
11
28 A Baal-Peor aent ynghyd,
ymgredu igyd ag efo:
Ebyrth y meirwon a fwydtent,
a Duw a roddent heibio.
29 Fel hyn digiaſant f'Arglwydd Dduw,
a chyfryw goeg ddychmygion:
Ynteu anfonodd blâ'n eu myſg,
arnynt yn derfyſg creulon.
12
30 Yna cyfododd Phinehes,
mewn cyfiawn wrês i ddial:
A phan roes hwn ei farn yn ddâ,
Duw ar y plâ 'roes attal.
31 A chyfrifwyd y weithred hon,
yn weithred gyfion yntho,
O oes i oes ( drwy air Duw Iôn )
pan ddelai ſôn amdano.
13
32 Ac wrth lan dwfr Meribbah gynt,
yno a cyffroent gynnen.
Lle digient Dduw a'u craſder ffraeth,
am hyn bu'n waeth i Foeſen.
33 Wrth gythruddo yſpryd y Sanct,
hwy a baraſant hefyd
Iw eneu draethu gair ar fai,
na weddai ei ddwedyd.
14
34 Ni laddent chwaith bobloedd y wlâd
wrth archiad Duw y lluoedd,
35 Ond ymgymyſcu a hwynt yn gu,
a dyſgu eu gweithredoedd.
36 A gwaſnaethu eu duwiau gau,
y rhai fu faglau iddynt.
37 Aberthu eu plant, yn fâb, yn ferch,
o ſerch i'r cythraul 'roeddynt.
15
38 A thywalltaſant wirion waed,
dan draed gau-dduwiau Canaan.
Y tir ( wrth aberthu eu plant )
a gwaed llygraſant weithan.
39 Fellu o'u gweithredoedd eu hun,
yn un ymhalogaſant:
Putteinio wrth eu cwrs, a'u bryd,
ac fellu cyd-lygraſant.
16
40 Wrthynt enynnodd Duw mewn dig
am hyn, a ffyrnig gyffro:

Câs a ffiaidd, fellu yr aeth
ei etifeddiaeth gantho.
O'r achos hyn eu rhoddi a wnaeth
dan bôb cenhedlaeth gyndyn,
Mewn cyflwr câs dan estron blaid,
a'u câs yn feistraid arnyn.

17

Eu gelynnion aethant yn ffrom,
a'u llaw fu drom, a ffyrnig,
Fellu a darostyngwyd hwy,
a mwyfwy fu eu dirmig.
Mynych-waredodd Duw ei blant,
hwy a'i digiasant ynteu
A'u cwrs eu hun: daeth cystudd hir
am waith eu henwir feiau.

18

Pan welai arnyn ing, na thrais,
fe glywai lais eu gweddi,
Gan gofio ei air, rhoi nawdd a wnaeth
o'i helaeth fawr ddaioni.
A throi yn drugarog a wnaeth,
y gwyr yn gaeth a'u cludent,
rhai a fase'n fawr eu câs:
mel mwy cymwynas ganthynt.

19

Achub ninnau o blith y rhain
i arwin dy enw hy-glod,
Arglwydd Dduw, cymell ni'n gu
i orfoleddu ynod.
Duw Israel bendigaid fydd,
yn dragywydd, Jehofa:
dweded yr hôll bobl Amen,
molwch Dduw pen gorucha.

PSALM. 107.

1

MOlwch yr Arglwydd, canys dâ yw,
moliennwch Dduw ein llywydd,
Herwydd ei drugaredd fry
a bery yn dragywydd.
Y gwaredigion canent fawl,
i Dduw gerdd nodawl gyson,
Fawl achubwyd, caned hyn,
o law y gelyn creulon.

2

A gasglodd o bedwar-rhan y Byd,
dowch chwi i gyd-ganeuau:
O dîr y dwyrain dowch mewn hedd,
gorllewin, gogledd, deheu.

4 Drwy yr anialwch, wyrdraws hynt
lle basent gynt yn crwydro
Allan o'r ffordd: heb drêf na llan,
lle cent hwy fan i drigo.

3

5 Drwy newyn, a syched bu'r daith hon,
a'u calon ar lewygu:
6 Ar Dduw a galwent y pryd hyn,
pan oeddyn ym mron trengu.
Yna eu gwared hwynt a wnaeth,
o'u hôll orthrym-gaeth foddion,
7 Rhyd yr iawn ffordd fe'u dug mewn hedd,
i dref gyfannedd dirion.

4

8 Addefant hwythau gar ei fron,
ei fwynion drugareddau:
Ac er plant dynnion fel a gwnaeth
yn helaeth ryfeddodau:
9 Diwallu o honaw einioes dyn,
rhag newyn, a rhag syched:
Ac o'i fawr râs eu cadw igyd,
pan oedd y Byd yn galed.

5

10 Y rhai mewn tywyllwch a drig,
ynghysgod llewig angeu,
Yn rhwym mewn nychdod, ac mewn bâr,
a heyrn mawr ar eu sodlau.
11 A hyn o herwydd iddynt fôd,
mewn anufudd-dod eithaf,
A llwyr ddirmygu gair Duw Iôr,
a chyngor y Goruchaf.

6

12 A thrymder calon cwympiwyd hwy,
nid oedd neb mwy a'u cododd.
13 Ar Dduw mewn ing a rhoesan lêf,
ac yntef a'u gwaredodd.
14 Ef a'u gwaredodd, ac a'u dwg,
o dywyll-ddrwg, caeth-glud,
O gysgod angeu eu rhyddhau,
a thorri eu rhwymau hefyd.

7

15 Addefent hwythau gar ei fron,
ei fwynion drugareddau,
Ac i blant dynnion fel a gwnaeth
yn helaeth ryfeddodau.
16 Can's y pyrth prês, torrodd yn chwyrn
a'r barrau o heyrn hefyd:
17 Am eu bai, a'u camwedd yn hir,
a poenir y rhai ynfyd.

8

18 A hwŷnt yn galaru 'r bwŷd,
fe'u dygwŷd at bŷrth angeu.
19 Ar Dduw mewn ing a rhoesant lêf,
achubodd ef hwŷnt hwŷthau:
20 Gan yrru ei air iw iachau,
ac iw rhyddhau yn fŷan,
A hwŷnt a'i air tynnu a wnaeth
o'u methedigaeth allan.

9

21 Cyddefant hwŷthau gar ei fron,
ei fwŷnion drugareddau:
Ac i blant dynnion fel a gwnaeth
yn helaeth ryfeddodau.
22 Aberthant hefŷd aberth mawl,
iw ogoneddawl fawredd,
A mynegant ei waith, a'i wŷrth,
yn ei bŷrth mewn gorfoledd.

10

23 Y rhai ânt mewn llongau i'r don,
a'u taith uwch mawrion ddyfroedd,
24 A welsant ryfeddodau'r Iôn,
a hŷn mewn eigion moroedd.
25 A'i air cyffroe dymhestloedd gwŷnt,
y rhai'n a godŷnt donnau
26 Hŷd awŷr frŷ, o eigion llawr,
ac ofn bôb awr a godau.

11

27 Gan ysgwŷd, a phendroi fel hŷn,
dull meddwŷn, synnai arnŷnt.
28 Ar Dduw mewn ing a rhoesant lêf,
daeth ef a chymorth iddŷnt.
29 Gwnaeth e'r ystorm yn dawel dêg,
a'r tonnau'n osteg gwastad,
30 Yn llawen ddistaw doen i'r lan,
i'r man a bae eu dymuniad.

12

31 Cyffesent hwŷthau gar ei fron,
ei fwŷnion drugareddau,
Ac i blant dynnion fel y gwnaeth
yn helaeth ryfeddodau.
32 Hôll gynulleidfa ei bobl ef,
clôd Duw hŷd nêf derchafant:
Hôll eisteddfod pennaethiaid hên,
yn llawen a'i moliannant.

13

33 Y ffrydau'n ddyrys dir a wnai,
fe sychai ddwfr lle tarddo.
34 A thir ffrwŷthlawn a wnai'n ddiffrwŷth,
llettrig drwg dylwŷth yntho.
35 Troes yr anialwch yn llŷn glâs,
a'r tir crâs yn ffynhonnŷdd,
36 Lle gwnai ef drigfa i'r gwael ddŷn,
i dorri ei newŷn beunŷdd.

14

37 Lle yr hauasant feusŷdd glân,
a llawer gwinllan dyner,
Y rhai a roddant lawnder ffrwŷth,
a chnydlwŷth yn ei amser.
38 Can's cynŷddasant hwŷ gan wlith
grasol fendith un Duw cun,
A'u hanifeiliaid hŷsb a blith,
rhoes yr un fendith arnun.

15

39 Daeth caethder gwedi hŷn igŷd,
a drŵg fŷd, iw gostwng:
Gadawodd eu gorthrymmu, a'u plau,
cawsant flinderau teilwng,
40 Eu dirmŷg ar y beilchion troes,
ac ef a'u rhoes i grwŷdro,
Mewn drysni, heb lun ffordd iw chael,
lle buant wael eu dwŷlo.

16

41 Rhoes e'r tylawd i well bri,
dug o'r trueni allan,
Gan lwŷddo ei deulŷ, a'i hôll blaid,
fel defaid wrth ei gorlan.
42 Y rhai cyfiawn a welant hŷn,
a chanthŷn bŷdd yn hyfrŷd:
A'r enwir ceuir ei ddwŷ ên
ar ei gynfigen ynfŷd.

17

43 Pa rai sŷ ddoeth i ddeall hŷn,
fe roddir iddŷn wŷbod
Faint ŷw daioni f'Arglwŷdd gwŷn
wrth hŷn a cânt gydnabod?

## PSALM. 108.

1

PArod ŷw fy nghalon (O Dduw)
O parod ŷw fy nghalon,
Canaf i't, a dadcanaf wawd,
o fawl fy nhafawd ffyddlon.
2 Deffro dafod, a deffro dant,
a chân ogoniant beunŷdd,
Y nabl, a'r delŷn yn gytun,
deffro fy hun ar las-ddŷdd.

2

3 Mawl i ti f'Arglwŷdd, pan ddeffrof,
a rôf ym mŷsg y bobloedd:

A chlodfori dy enw a wnaf,
lle amlaf y cenhedloedd.
Can's cyrhaeddŷd y mae dy râs,
hŷd yn Nheŷrnas nefoedd.
A'th wirionedd di hŷd at nen
yr wŷbren a'i therfynoedd.

3

Ymddercha Dduw y nêf uwchlaw,
oddiyno daw d'arwŷddion.
A bydded dy ogoniant ar
y ddaiar a'i thrigolion.
Fel y gwareder drwŷ lân hwŷl,
bôb rhai o'th anwŷl ddynnion:
O achub hwŷnt a'th law ddeheu,
a gwrando finneu'n ffyddlon.

4

Yn ei sancteiddrwŷdd dwedodd Duw
llawen ŷw fy nghyfamod.
Mi a rannaf Sichem rhŷd y glŷnn,
mesuraf ddyffrŷn Succod.
Myfi pia'r ddwŷ dre-tâd,
sef Gilead a Manasse:
Ac Ephraim ydŷw nerth fy mhen;
a Juda wen fy neddf-le.

5

Ym Moab, ymolchi a wnaf,
dros Edom taflaf f'esgŷd.
A chwardded Palestina gaeth,
ei chwerthin aeth yn rhŷ-brid.
10 Duw pwŷ a'm dŵg i'r ddinas grêf,
pwŷ am dŵg i drêf Edom?
11 Er i't ein gwrthod, pwŷ ond tydi,
O Dduw, a'mleddi drosom.

6

12 O unic Dduw, bŷdd i'n yn borth,
mae'n ofer cymorth undŷn.
13 Yn Nuw a gwnawn wroliaeth fawr
fe a sathra i lawr ein gelŷn.

PSALM. 109.

1

O Dduw fy moliant i, na thaw,
2 mae dwŷlaw'r annuwiolion:
A'u tafod twŷllgar, a'u safn rhwth,
arnaf yn bygwth digon.
3 Daethant o'm cŷlch a geiriau câs,
rhoent ddiflâs fem anynad.
4 Fel hŷn a talent ddrwŷg am ddâ,
A châs a gâf am gariad.

2

Ac fel yr oeddynt hwŷ fel hŷn,
i'm herbŷn wedi codi,
Fy wŷneb attad ti a drois
ac arnat rhois fy ngweddi.
6 Dod sathan ar ei ddeheu law,
i'r swŷdd a daw yn barod,
7 A phan roer barn, yn euog boed,
a'i weddi troed yn bechod.

3

8 Bydded ei oes yn ferr, mewn gwall,
a'i swŷdd i arall hefŷd,
9 Yn ymddifaid a bo ei blant,
a'i weddw yn fethiant ddi-brŷd.
10 A boed ei blant yn crwŷdro Bŷd,
i gymrŷd mân gerdodau:
A cheisiant hŷn rhŷd ddyrŷs dir,
lle bytho hir eu prydau.

4

11 Yn rhwŷd y rheibiwr ei ddâ syrth
a'i lafur pŷrth ddieithriaid:
12 Na ddêl nawdd iddo am ei fai,
na chwaith iw rai ymddifaid.
13 Doed distrŷw dial ar ei hil,
a'i heppil a ddinistrer,
14 Am bechodau ei dâd a'i fam
a caiff ef lam rŷw amser.

5

15 A bydded hŷn igŷd gar bron
yr Arglwŷdd gyfion farnwr,
Yr hwn a'i torro, fel na bo
mwŷ gofio i anghyfiwr.
16 Erioed ni cheisiodd wneuthur hêdd,
na thrugaredd i'r egwan,
Ond erlid y tlawd, ar isel râdd,
a cheisio llâdd y truan.

6

17 Hoffodd felldith, a hi a ddaeth
ac fel a gwnaeth bŷdd iddo:
Casâodd fendith, ac ni chaf,
ond pell yr ai oddiwrtho.
18 Gwisgodd felldith fel dillad gŵr,
a daw fel dŵr iw galon,
Fel olew doed iw esgŷrn fo,
hŷdoni chaffo ddigon.

7

19 A'r felldith bŷdd o'i gŷlch yn dŷnn,
fel yn ddilledŷn iddo:

A'i gwisgo hi a fo iddo'n dasg,
fel gwregys gwasg amdano.
20 A hyn gan Dduw a gâf yn dâl,
i'r gelyn gwamal enbyd,
A ddywedo, neu a wnelo gam,
neu niwed am fy mywyd.

8

21 Di Dduw er mwyn dy enw gwnâ,
o herwydd mai dâ d'ymwared;
Gwna dy drugaredd a myfi:
a bryssia di i'm gwared.
22 O herwydd tlawd a rheidus wyf,
a dirfawr glwyf i'm calon.
23 Fel symud cysgod a fai'n ffo,
hyn er na welo dynnion.

9

Mor ansefydlog yw fy 'stâd;
ar gwibiad ceilliog rhedyn,
24 Fy nghnawd yn gul, fy ngliniau'n wan
a siglan o dra-newyn.
25 Gwarth wyf i'm câs, yn fy ngwael ddrych,
a hwynt wrth edrych arnaf
A'm diystyrent ar rol tro,
a than bensiglo attaf.

10

26 Cymorth fi Arglwydd, fy Nuw,
cadw fi'n fyw a'th nodded:
27 Fel a gwyper mai gwaith dy law,
yw'r llês a ddaw i'm gwared.
28 Melldithiant, nac eiriachant hwy
dôd fendith fwy i minneu,
Bydd gwarth i'm gwrthwynebwyr câs,
gorfoledd i'th wâs ditheu.

11

29 A gwarth a gwradwydd gwisger hwy
ac fwyfwy a dêl attynt
A mantell laes o gwilydd mawr,
gwisg di hyd lawr amdanynt.
30 Oed fi, gan ddiolch i'm Iôr mau,
a'm geneu mawl a ganaf:
Ac a rôf glod iw enw cu,
lle bytho'r llu yn amlaf.

12

31 O herwydd ar ddeheulaw'r tlawd
y saif ddydd brawd yn gefnog;
I gadw ei enaid ef yn gu,
rhag ei farnu yn euog.

## PSALM. 110.

1

DWedai'r Arglwydd wrth f'Arglwydd mau
ar fy llaw ddeheu eistedd:
Nes rhoddi y rhai a gais dy waed
dan dy draed i orwedd.
2 Arglwydd denfyn ffrewyll dy nerth
o ddinas fawrwerth Seion,
Pan lywodraethech yn eu mysg
gwna derfysg ar d'elynnion.

2

3 Yn nydd dy nerth dy bobl a ddaw
ag aberth llaw'n wyllysgar,
Yn sanctaidd hardd, daw'r cynnyrch tau
o wlith y boreu hawddgar.
4 Yr Arglwydd tyngodd, ac ni wâd,
ti sy'n offeiriad bythol,
Wrth urdd Melchizedeck oddi fry
a bery yn dragwyddol.

3

5 Yr Arglwydd ar dy ddeheu law,
Brenhinoedd draw a friwa,
Yn nydd ei ddig gwna'n archollion,
Frenhinoedd cryfion, medda.
6 Ar y cenhedloedd rhydd farn iawn,
a'u gwlâd gwna'n llawn celanedd:
A llawer pen dros wledydd mawr,
a dyrr i lawr yn un-wedd.

4

7 O wir frys i'r gyflafan hon,
fe yf o'r afon nesa
A gaffo ar ei ffordd yn rhwydd,
a'r Arglwydd a'i derchafa.

## PSALM. 111.

1

CLodforaf fi fy Arglwydd Iôn,
o wllys calon hollawl,
Mewn cynnulleidfa gar eu bron,
mewn tyrfa gyfion rasawl,
2 Mawr iawn iw gwerthiau'n Arglwydd ni
hysbys i rheini a'i hoffant.
3 Ei waith, a'i iawnder pery byth,
a'i wehelyth ogoniant.

2

4 Yr Arglwydd a wnaeth ei goffau,
am ryfeddodau nerthol:

Can's

Can's Arglwŷdd nawdd-fawr ŷw i ni,
llawn o dosturi grasol.
5 I bôb rhai a'i hofnant éf,
rhŷdd gyfran gréf at fywŷd:
Ac yn dragywŷdd a mŷn fôd
côf o'i gyfammod hefŷd.

3

6 Mynegodd ef iw bobl igŷd,
gadernŷd ei weithredoedd:
A rhoddi iddŷnt hwŷ a wnaeth
'tifeddiaeth y cenhedloedd.
7 Gwirionedd, a barn ydŷw gwaith
ei burlan berffaith ddwŷlo:
A'i orchymynnion sŷdd ffyddlon iawn,
a dâ a gwnawn eu gwrando.

4

8 Y rhain sŷ gwedi eu sicrhau,
dros bŷth yn ddeddfau cyfion:
Gwedi eu gwneuthur hwŷ mewn hêdd
a thrwŷ wirionedd union.
9 Anfonodd gymmorth iw bobl ef,
cyfammod gréf safadwŷ,
Archodd hŷn: boed iddo fawl,
sanctеiddiawl, ac ofnadwŷ.

5

10 Dechreuad pôb doethineb ddofn
i bawb ŷw ofn yr Arglwŷdd,
Dâ ŷw deall y sawl a'i gwnai,
a'i ofn a sai'n dragywŷdd.

## PSALM. 112.

1

DEdwŷddol ŷw mewn buchedd ddâ,
y sawl a ofna'r Arglwŷdd,
A'i orchmynion anwŷl ŷnt,
bŷdd iddo helŷnt hylwŷdd.
2 Ei hâd fŷdd nerthol yn y tîr,
bendithir hîl rhai union:
3 Golud a chyfoeth yn ei dŷ,
tros bŷth a perŷ'n gyfion.

2

4 Yr union yn y tywŷll cau
caiff fôdd i oleu weled:
Ystyriol, a thosturiol iawn,
a chyfiawn fŷdd ei weithred.
5 Gwr dâ a fŷdd trugarog fwŷn,
rhŷdd echwŷn a chymwŷnas.
A'i air mewn pwŷll a barn a rŷdd,
A'i weithred fŷdd yn addas.

3

6 Ni 'sgogir bŷth y cyfiawn, gwna
ei goffa yn dragywŷdd;
7 A chalon ddisigl, ddwŷs, ddiofn,
a sail ddofn yn yr Arglwŷdd.
8 Hwn yn nerth Duw diofnog fŷdd,
ac atteg sŷdd iw galon:
Hŷdoni chaffo yn llawn ddwŷs,
ei wllŷs ar ei elynnion.

4

9 Rhannodd, a rhoes i'r tlawd yn hŷ,
bŷth perŷ ei gyfiawnedd,
A chryfder ei goron ef yn wir,
derchefir mewn gogonedd.
10 Yr anwir edrŷch, ffromma o ddig,
drwŷ ffyrnig ysgyrnyglad:
Yr annuwiol a dawdd, fel hŷn
'fŷdd terfŷn eu dymuniad.

## PSALM. 113.

1

CHwi weision Duw molwch yr Iôn,
molwch ei enw a llafar dôn,
2 Bendigaid fytho ei enw éf.
3 O godiad haul hŷd fachlud dŷdd,
Mawr enw yr Iôn moliannus fŷdd,
yn y Bŷd hwn, ac yn y nêf.

2

4 Derchafodd Duw uwch yr hôll Fŷd,
A'i follant aeth uwch nêf igŷd.
5 Pwŷ sŷ gyffelib i'n Duw ni?
Yr hwn a breswŷl yn y nêf,
6 I'r ddaiar hon darostwng éf,
gwel ef ein cam, clŷw ef ein cri.

3

7 Yr hwn sŷ'n codi'r tlawd o'r llŵch,
A'r rheidus o'i ddiystŷrwch,
8 iw gosod uwch pennaethiaid Bŷd.
9 I'r ammlhantadwŷ mae'n rhol plant,
Hîl têg, a thylwŷth, a llwŷddiant;
am hŷn moliennwch Dduw igŷd.

## PSALM. 114.

1

PAn ddaeth Israel, o'r Aipht faith,
A thŷ Iaco o estron iaith,
2 Juda oedd ei sancteiddrwŷdd ef,
Israel oedd benaethiaith Iôr,
3 Gwelodd hŷn, a chiliodd y môr,
a throes iw hôl Iorddonen gréf.

2

4 Neidiai'r mynyddoedd megis hyrdd,
A'r brynniau fel wŷn llamment ffyrdd,
cawsant wastad megis llawr dôl,
5 Ciliaist ( o fôr ) dywaid pa ham ?
Titheu Iorddonen lathraidd lam,
pa'm a dadredaist ditheu'n d'ôl?

3

6 Chwychwi fynyddoedd pa'm a ffoech
Fel hyrddod ? a pham nad arhoech
a chwithau frynniau fel wŷn mân ?
7 Am mai rhaid ofni Duw Iago,
8 Yr hwn sŷ'n troi'r graig yn llŷn trô,
a'r callestr yn ffynnon ddwr glân.

## PSALM. 115.

1

NId i ni Arglwŷdd, nid i ni,
a rhoddi y gogonedd,
Ond i'th enw dy hun yn hawdd,
am dy nawdd, a'th wirionedd.
2 Pa'm y dwedant amdanat ti
y cenhedlaethi estron:
A thrwŷ edliw hynnŷ yn fwŷ,
ple mae eu Duw hwŷ yrawron.

2

3 Sef ein Duw ni mae yn y nêf,
lle a gwnaeth ef a fynnodd.
4 Eu delwau hwŷ, aur, arian ŷn,
a dwŷlo dŷn a'u lluniodd.
5 Safn heb draethu: llun llygaid glân,
y'rhain ni welan ronŷn:
6 Trwŷn heb arogl, clustiau ar lêd
Sŷdd heb glywed, ganthŷn.

3

7 Ac i bôb delw i mae dwŷ law
heb deimlaw, traed heb symŷd:
Mae mwnwgl iddŷnt heb roi cais,
fel dyna ddyfais ynfŷd.
8 Fel hwŷnt ydŷw y rhai a'u gwnant
a'r rhai a gredant iddŷnt:
Am hŷn ni ddyleu neb drwŷ gred
roi mo'i ymddiried arnŷnt.

4

9 O Israel, dôd ti yn rhwŷdd
ar yr Arglwŷdd dy holl-frŷd.
Ef ŷw dy nerth a'th ddŵg i'r lan,
dy borth a'th darian hefŷd.
10 O tŷ Aaron, dôd titheu'n rhwŷdd
ar yr Arglwŷdd dy holl-frŷd:
Ef ŷw dy nerth a'th ddŵg i'r lan,
dy borth a'th darian hefŷd.

5

11 Y rhai a ofnwch Arglwŷdd Iôn,
rhowch arno eich union holl-frŷd:
Efe ŷw'r neb a'ch dŵg i'r lan,
eich porth a'ch tarian hefŷd.
12 Duw nâf a'n cofiodd, ac i'n plith
fe roes ei fendith rhadlawn,
I dŷ Israel rhŷdd ei hêdd,
ac un-wêdd i dŷ Aaron.

6

13 Y sawl a'i hofnant, bendithiant ef,
yr Arglwŷdd nêf canmolan,
A'i enw sanct o'r nêf i'r llawr,
bendithied mawr a bychan.
14 Yr Arglwŷdd hefŷd arnoch chwi,
a wna ddaioni amlach:
Ac a chwanega ar eich plant.
ei fwŷniant yn rymusach

7

15 Mae i chwi fendith, a mawr lwŷdd
gan y gwir Arglwŷdd cyfiawn:
Yr hwn a wnaeth y nefoedd frŷ,
a'r ddaiar obrŷ yn gyflawn.
16 Y nêf, ie'r nefoedd fawr uwchlaw
sŷdd yn eiddaw Duw yr Iôn,
A'r ddaiar, lle a preswŷliant,
a roes ef i blant dynnion.

8

17 Pwŷ a folant yr Arglwŷdd ? pwŷ ?
gwn nad hwŷnt hwŷ y meirwon,
Na'r rhai a ânt i'r bêdd yn rhwŷdd,
lle a mae distawrwŷdd ddigon.
18 Ond nyni daliwn yn ein côf
fŷth fŷth fendithio'r Arglwŷdd.
Molwch yr Arglwŷdd yr un wêdd,
a mawl gyfannedd ebrwŷdd.

## PSALM. 116.

1

DA gennif wrando or Arglwŷdd nêf
ar lais fy llêf, a'm gweddi:
2 Am iddo fy nghlywed i yn hawdd,
bŷth ceisiaf ei nawdd i mi.
3 Mae maglau angeu i'm cynllwŷn,
ym mron fy nwŷn i'm beddrod:
4 Cefais ing: Ond galwaf fy Nêf
i'm hoes, moes dyner gymod.

5 Cyſion ŷw'r Iôn trugarog iawn,
ein Duw ſŷdd lawn o nodded.
6 Duw a geidw'r gwirion: bum i
mewn cyni, daeth i'm gwared.
7 O fy enaid, dadymchwel o'r llŵch,
tyred i'th lonyddwch bellach:
Am i'r Arglwŷdd fôd i ti'n ddâ,
i'th orphwŷs bryſia yn hyſach:

3

8 O herwŷdd i Dduw wared fy oes,
a'm cadw rhag gloes angeu,
Fy nhraed rhag llithro i lam drwg,
a'm golwg yn ddi ddagrau.
9 Yn y ffordd hon oflaen fy Nuw,
ym mŷſg gwŷr bŷw a rhodiaf.
10 Fel a credais, fellŷ tyſtiais,
ar y teſtŷn ymma.

4

11 Yn fy ffrwſt, dwedais hŷn,
mae pôb dŷn yn gelwŷddog,
12 Ond O Dduw, beth a wnaf i ti,
am dy ddaioni cefnog?
13 Mi gymmeraf, gan roi mawl,
y phiawl iechŷdwriaeth,
Ac a alwaf, er mwŷn fy llwŷdd,
ar enw yr Arglwŷdd perffaeth,

5

14 I'r Arglwŷdd talaf yn foreu,
fy addunedau ffyddlon,
Y prŷd hwn oflaen ei lu,
y môdd a bu'n fy nghalon.
15 Marwolaeth ei ſainct, gwerthfawr ŷw
yngolwg Duw, O cenfŷdd,
16 Dy wâs, dy wâs wŷf, mewn dirmŷg,
mâb dy forwŷnig ufudd.

6

Datodaiſt fy rhwŷmau yn rhŷdd,
fy offrwm fŷdd dy foliant.
17 Enw'r Arglwŷdd nid â o'm cô,
i hwnnw a bo'r gogoniant.
18 I'r Arglwŷdd bellach tala'n frau
fy addunedau cyſion.
19 Ynghaer Selem dy ſanctaidd dŷ,
oflaen dy deulŷ ffyddlon.

## PSALM. 117.

1

[M]olwch fawl i'r Arglwŷdd nêf,
[m]olwch ef genhedloedd.
Molwch ei Enw ef drwy'r Bŷd,
chwithau igŷd y bobloedd.
2 Am ei fôd i ni yn ddâ iawn,
yr Arglwŷdd llawn trugaredd,
A'i air ef ſŷdd yn parhau bŷth,
ſef ei ddilŷth wirionedd.

## PSALM. 118.

1

MOlwch yr Arglwŷdd, can's da ŷw
moliannu Duw y llywŷdd,
O herwŷdd ei drugareddau,
ſŷdd yn parhau'n dragywŷdd:
2 Dweded Iſrael dâ ŷw ef,
a'i nawdd o'r nêf ni dderfŷdd,
3 Dweded tŷ Aaron mai dâ ŷw
trugaredd Duw'n dragywŷdd.

2

4 Y rhai a'i hofnant ef yn lân,
a ganan yr un cywŷdd,
Rhôn iw drugaredd yr un glôd,
am ei fôd yn dragywŷdd.

3

5 Yn f'ing gelwais ar f'Arglwŷdd ei
hawdd gantho fu fy nghlywed:
Ef a'm gollyngodd i yn rhŷdd.
a'i lân dragywŷdd nodded.

4

6 Yr Arglwŷdd ſŷdd i'm gyda mi,
nid rhaid i'm, ofni dynnion.
7 Yr Arglwŷdd ſŷdd ynghŷd â mi,
i goſbi fy ngelynnion.
8 Gwell gobeithio yn Nuw gwŷn,
nag mewn un dŷn o'r aplaf:
9 Gwell ŷw gobeichio yn yr Iôn,
na'r tywŷſogion pennaf.

5

10 Doed y cenhedloedd arna'i gŷd,
a'u brŷd ar wneuthur artaith:
Ond yn enw yr Arglwŷdd Nâf,
myfi a'u torraf ymaith.
11 Daethant o'm cylch fel gwenŷn mân,
ac ar amcan diffaith,
Ond yn enw'r Arglwŷdd Nâf,
myfi a'u torraf ymaith.

6

12 Os daethant o'm cylch fel gwenŷn mân
fel diffodd tân mewn godaith,

Yn

Yn enw yr Arglwŷdd yr wŷf fi
  yn eu diffoddi ymaith.
13 Fy nghâſ-ddŷn gwthiaiſt atta'n grŷf
  i geiſio gennif ſyrthio.
14 Duw a'm cadwodd, ef ŷw fy mhorth,
  a'm hiechŷd i'm cynorthwŷo.

7

15 Am orfoledd Duw bŷdd ſôn
  yn nhai rhai cyfion duwiol,
Mae'r Arglwŷdd Dduw, a'i law ddeheu,
  a wnaeth y gwrthiau nerthol.
16 Deheulaw'r Arglwŷdd drwŷ ei nawdd
  ef a'i derchafawdd arnom,
A deheu law yr Arglwŷdd nêr,
  a wnaeth rymuſder droſom.

8

17 Nid marw, onid bŷw a wnâf,
  mynegaf waith yr Arglwŷdd,
18 Hwn a'm coſpodd, ac ni'm lladdodd,
  yn hytrach lluddiodd aflwŷdd.
19 Agorwch i'm bŷrth cyfiawnder,
  o'u mewn Duw nêr a folaf.
20 Porth yr Arglwŷdd, fel dyna fo,
  ânt iddo y rhai cyfiawnaf.

9

21 Minneu a'th folaf yn dy dŷ,
  o herwŷdd i ti 'nghlywed,
Yno a canaf nefol glôd
  i't, am dy fôd i'm gwared.
22 Y maen, ein pen congl-faen ni,
  a ddarfu i'r ſeiri ei wrthod.
23 O'r Arglwŷdd Dduw a tyfodd hŷn
  ſŷ ganddŷn yn rhyfeddod.

10

Yr Arglwŷdd a'i gwnaeth, dymma'r dŷdd,
  er mawr lawenŷdd i ni,
24 Yntho cymrwn orfoledd llawn,
  ymlawenhawn am hynnŷ.
25 Attolwg Arglwŷdd y prŷd hŷn
  yr ŷm yn erfŷn ſeibiant:
Atolwg Arglwŷdd Dduw pâr i'n,
  y prŷd hŷn gaffael llwŷddiant.

11

26 Bendigaid ŷw y ſawl a ddêl
  yn enw yr uchel Arglwŷdd.
O dŷ Dduw bendithiwŷd chwi,
  drwŷ weddi a ſancteiddrwŷdd.
27 Yr Arglwŷdd ſŷdd yn Dduw i ni,
  rhoes i'n oleuni rhagor.
Deliwch yr oen, a rhowch yn chwŷrn
  yn rhwŷm wrth gŷrn yr allor.

12

28 Tydi O Dduw wŷt Dduw i mi;
  am hŷn tydi a folaf:
( Dâ gwêdd it fawl, fy Nuw wŷt ti )
  a thydi a dderchafaf.
29 Molwch yr Arglwŷdd, can's da ŷw
moliannu Duw y llywŷdd,
O herwŷdd ei drugaredd frŷ,
  a berŷ yn dragywŷdd.

## PSALM. 119.

POb cyfrŷw ddŷn ar ſŷdd a'i daith
  yn berffaith, mae fe'n ddedwŷdd,
Y rhai'n fucheddol a rodian
  ynghyfraith lân yr Arglwŷdd.
2 Y rhain igŷd, gwŷnfŷd a gânt,
  a gadwant ei orchmynion:
Ac a'u ceiſiant hwŷ'n ddilŷs,
  a'u hôll ewŷllŷs calon.

2

3 Dieu ŷw nad a rhai hŷn,
  i ganlŷn llwŷbrau gwammal,
4 Ond cadw dy air ( a erchaiſt i'n )
  a dilŷn hŷn yn ddyfal.
5 Och fi na chawn unioni'n glau,
  fy llwŷbrau at dy ddeddfod;
6 Bŷth ni'm gwradwŷddid y môdd hwn,
  tra cadwn dy gyfammod.

3

7 Mi a'th glodforaf di er neb,
  ac mewn uniondeb calon:
Pan ddyſgwŷf ddynabod dy farn,
  ſŷ gadarn, ac ſŷdd gyfion.
8 Am dy farn mae fy hôll amcan,
  dy ddeddfau glân a gadwaf,
Na âd fŷth fi yn fy nŷch,
  O, trô i edrŷch arnaf.

Beth. *Yr Ail Rhan.*

4

9 Pa fôdd ( O Dduw ) y ceidw llangc,
  ſŷdd iefangc, ei hôll lwŷbrau?
Wrth ymgadw yn ôl dy air,
  dy lwŷbr a geir yn oleu.
10 Dy orchmynion a'm hôll galon,
  a'u dirgelion ceiſiais,
O lleſtŷr i mi ar ofer hŷnt,
  fŷnd oddiwrthŷnt, dwedai[illegible]

5

11 I'm calon cuddlais dy air cu,
rhag i mi bechu'n d'erbyn:
12 O Arglwydd, bendigaid ydwyt ti,
O dysg i mi d'orchmmyn.
13 Dy gyfiawn feirn, a'r gwir air tau
a mawl gwefusau traethais,
14 A'th dystiolaeth di igyd,
uwch hôll ddâ'r Byd a hoffais.

6

15 Dy ddeddf fy myfyr yw, a'm drych,
dy ffyrdd 'rwy'n edrych arnyn.
16 Mor ddigrif i mi yw dy air,
o'm côf nis cair un gronyn.

**Gimel.** *Y Drydydd Ran,*

7

17 Bydd ddâ i'th wâs, a byw a wna,
a'th air a gadwa'n berffaith:
18 A'm llygaid egor di ar lêd,
i weled rhin dy gyfraith.
19 Dieithr ydwyfi'n y tir,
dy ddeddf wir na chudd rhagof,
20 O wir awydd i'r gyfraith hon,
mae'n don fy enaid ynof.

8

21 Curaist feilch: daw dy felldith di
i'r rhai sy'n torri d'eirchion:
22 Trô oddiwrthif fefl ar gais,
can's cedwais dy orchmynion.
23 Er i swyddogion roi barn gâs,
rhoes dy wâs ei fyfyrdod
24 Yn dy ddeddf, sydd i'm igyd,
yn gyngor hyfryd ynod.

**Daleth.** *Y Bedwaredd Ran.*

9

25 Fy enaid ymron llwch bedd yw:
o'th air gwna fi'n fyw eilwaith;
26 Mynegais fy ffyrdd, clywaist fi,
O dysg i mi dy gyfraith.
27 Pâr i mi ddeall ffordd dy air,
ar hwnnw cair fy myfyr.
28 Gan ofud, f'enaid fu ar dawdd,
a'th air gwnai'n hawdd fi'n bybyr.

10

29 O'th nawdd oddiwrthif tyn ffyrdd gau
a dysg i'm ddeddfau crefydd.
30 Dewisais ffordd gwirionedd hon,
sydd gar fy mron i beunydd.
31 Glynais wrth dy air, Arglwydd,
O llestyr i'm wradwydd digllon.
32 Yn dy ddeddfau fy rhodiad sydd
pan roech yn rhydd fy nghalon.

**He.** *Y Bummed Ran.*

11

33 Duw, ffordd dy ddeddfau dysg i mi,
dros f'einioes mi a'i cadwaf.
34 O pâr i'm ddeall y ddeddf hon,
o'm calon mi a'i cyflawnaf.
35 Pâr i'm fynd lwybr dy ddeddf ar frys,
hyn yw fy 'wyllys deilwng:
36 A'm calon at dystiolaeth ddâ,
nid at gybydd-dra gostwng.

12

37 Trô fi rhag gweled gwagedd gwael,
bywhâ fi i gael dy ffordd di,
38 Cyflawna dy air a mi dy wâs,
yna câf râs i'th ofni.
39 Ofnais warth, trô heibio hon,
dâ yw d'orchmynion tyner.
40 Wele, f'awydd i'th gyfraith yw,
gwna i'm fyw o'th gyfiawnder.

**Vau.** *Y Chweched Rhan.*

13

41 Arglwydd dôd dy drugaredd i'm,
a hyn o rym d'addewid.
42 Drwy gredu'n d'air rhôf atteb crwn
i'm cablwr hwn a'm dilid.
43 O'm geneu na ddwg dy air gwir,
i'th farnau hir mae 'ngobaith.
44 Minneu'n wastadol cadwaf byth
dy lân wehelyth gyfraith,

14

45 Mewn rhydd-did mawr rhodio a wnâf,
a cheisiaf dy orchmynion.
46 A'th dystiolaethau rhôf ar goedd,
oflaen brenhinoedd cryfion.
47 Heb wradwydd llawen iawn i'm cair
yn d'air yr hwn a hoffais.
48 Codaf fy nwylaw at dy ddeddf
drwy fyfyr, greddf a gredais.

**Zain.** *Y Seithfed Rhan.*

15

49 Cofia i'th wâs dy air, a'th raith,
lle rhois fy ngobaith arno,

50 Yn d'air mae nghysur i igyd,
yr hwn mae mywyd yntho.
51 Er gwatwar beilch, ni throis ychwaith,
oddiwrth dy gyfraith hoyw-bur,
52 Cofiais ( O Dduw ) dy ddeddf erioed
yn honno rhoed i'm gysur.

16

53 Y trawsion a ofnais i yn faith,
sy'n torri'r gyfraith eiddod,
54 O'th ddeddf a cenais gerdd yn hy,
yn nhy fy mhererindod.
55 Cofiais d'enw ( fy Iôn ) bôb nôs,
o ferch i'th ddiddos gyfraith.
56 Cefais hynny am gadw o'm bron
dy ddeddf: sef hon sydd berffaith.

Cheth. Yr Wythfed Rhan.

17

57 Ti Arglwydd wyt i mi yn rhan,
ar d'air mae f'amcan innes.
58 Gweddiais am nawdd gar dy fron
o'm calon yn ôl d'eiriau.
59 Meddyliais am ffyrdd dy ddeddfau,
a throis fy nghamrau attynt.
60 Dy eirchion ar frys, a gedwais,
nid oedais ddim o honynt.

18

61 Er i draws dröf fy 'speilio i,
dy gyfraith ni anghofiais.
62 Gan godi ganol nôs yn frau,
dy farnau a gyffessais.
63 Cyfaill wyf i'r rhai a'th ofnant,
ac a gadwant dy eiriau.
64 Dy nawdd drwy'r tir sy lawn i'n mysg,
Duw dysg i mi dy ddeddfau

Teth. Y Nawfed Rhan.

19

65 Arglwydd gwnaethost yn dda a'th wâs
yn ôl dy râs yn addo:
66 Dysg i'm ddeall dy air yn iawn,
'rwy'n credu yn gyflawn yntho.
67 Am fy ngostwng euthym ar gam,
yn awr wyf ddinam eilwaith
68 Dâ iawn a grasslawn ydwyt ti,
O dysg i mi dy gyfraith.

20

69 Dy air er beilch yn dyfais ffug
a'm calon gorug gadwaf.
70 Breision ynt hwy, er hyn myfi,
dy gyfraith di a hoffaf
71 Fy mlinder maith da iawn i'm fu,
i ddysgu dy ddeddfodau.
72 Gwell fu i'm gyfraith d'enau glân,
nag aur ac arian lwythau.

Jod. Y Degfed Rhan.

21

73 A'th ddwylaw gwnaethost fi dy hun
a rhoist i'm lun yn berffaith:
O pâr i'm ddeall dy air di,
a dyscaf fi dy gyfraith.
74 Y sawl a'th ofnant gwelant hyn,
bydd llawen genthyn weled,
Am fôd fy ngobaith yn dy air,
yr hwn a gair ei glywed.

22

75 Gwn fôd dy farnau yn deilwng
a'm gostwng i yn ffyddlon:
76 Dôd nawdd er cyssur i'm dy wâs,
o'th râs, a'th addewidion.
77 Dôd i'm dy nawdd a byddaf byw,
dy gyfraith yw yn felus.
78 Gwradwydder beilch, a'm plyg ar gam
myfyriaf am d'ewyllys.

23

79 Y rhai O Dduw a'th ofnant di,
troer y rheini attaf:
A'r rhai adwaenant er eu maeth,
dystiolaeth y goruchaf.
80 Bydded fy nghalon yn berffaith,
yn dy lân gyfraith Arglwydd,
Fel nas gorchuddier yn y Byd,
fy wyneb-pryd a gwradwydd.

Caph. Yr Unfedarddeg Rhan.

24

81 Gan ddisgwyl am dy iechyd di,
mae f'enaid i mewn diffig
Yn gwilied beunydd wrth dy air,
O Arglwydd cair fi'n ddiddig.
82 I mae fy llygaid mewn pall ddrych
yn edrych am d'addewyd,
Pa bryd ( O Arglwydd, dwedais i )
i'm diddeni a'th iechyd?

25

83 'Rwyf fel costrel mewn mwg cau,
cofiais dy eiriau cyfion.

4 Pa hyd ŷw amser dy wâs di?
pa brŷd a berni'r trawsion?
5 Cloddiai'r beilchion i'm hyllau: hŷn
sŷ'n erbyn dy gyfreithiau.
6 Gwirionedd ŷw d'orchmynion di,
cymmorth fi rhag cam faglau.

26

7 Braidd na'm difent o'r tir ar gais,
ond glynais wrth d'orchmynion.
8 Bŷwhâ fi Dduw, i gadw'n glau,
dystiolaeth d'eneu ffyddlon.

**Lamed.** *Y Ddeuddegfed Rhan.*

27

Bŷth yn y nêf a perŷ d'air,
O Dduw cair dy wirionedd
oes i oes: sicrheist y tir
na siglir mo'r amgylchedd.
Safant bŷth wrth dy farnau di
ment i ti'n weision ufudd.
1 Oni bai fôd dy ddeddf yn ddâ,
i'n difa baseu gystudd.

28

A'th orchmynion a bŷwheist fi,
am hŷn y rheini a goffais:
3 Eiddo ti wŷf, Duw achub fi,
dy ddeddfau di a geisiais.
4 Disgwŷl fy lladd mae'r anwir sur
'rwŷ'n ystur dy dystiolaeth.
5 Ar bôb perffeithrwŷdd mae terfŷn,
ond ar d'orchymmŷn helaeth.

**Mem.** *Y Trydŷddarddeg Rhan.*

29

6 Mor gu (O Arglwŷdd) gennŷf fi,
dy ddeddf di, a'th gyfammod:
Ac ar y rhain o ddŷdd i ddŷdd,
y bŷdd fy hôll fyfyrdod.
97 Gwnaethost fi a'th orchmynion iâch,
yn ddoethach na'm gelynnion:
Can's gyda mi yn dragywŷdd,
a bŷdd dy hôll orchmynion.

30

98 Gwnaethost fi'n ddoethach (O Duw Iôn)
na'r athrawon a'm dyscent,
Oblegid fy myfyrdod mau,
dy dystiolaethau oeddent,
99 Rhag drwg-lwŷbr, fel y cadwn d'air
fy nhraed yn ddiwair cedwais.
100 Am gadw o honof dy ddeddf di,
mwŷ na'm rhieni, deallais.

31

101 Rhag dy farnau ni chiliais i,
can's ti a'm dysgaist ynthŷnt.
102 Mor beraidd gennif d'eiriau iâch,
na' mêl melusach ydŷnt.
103 O Arglwŷdd a'th orchmynion di,
a gwnaethost fi yn bwŷllawg,
Am hynnŷ'r ydwŷf yn casâu
pôb cyfrŷw lwŷbrau euawg.

**Nun.** *Y Bedwareddarddeg Rhan.*

32

104 Dy air i'm traed, lusern ŷw,
a llewŷrch gwlw i'm llwŷbrau.
105 Tyngais, a chyflawni a wnâf,
y cadwaf dy lân ddeddfau:
106 Cystuddiwŷd fi'n fawr, Arglwŷdd dâ;
bŷwhâ fi'n ôl d'addewid:
107 Bodloner di, O Arglwŷdd mau,
ag offrwm geneu diwŷd.

33

A dŷsg i'm dy hôll farnau draw,
108 Fy enaid sŷ im llaw'n wastadol:
Am hynnŷ nid anghofiais chwaith,
dy lân gyfraith sancteiddiol.
109 Yr annuwiol i'r ffordd fau,
rhoddasant faglau geirwon:
Ni chyfeilliornais i er hŷn,
ond dilŷn dy orchmynion.

34

110 Cymrais yn etifeddiaeth lân,
bŷth weithian dy orchmynion,
O herwŷdd mai hwŷntwŷ sŷdd,
lawenŷdd mawr i'm calon.
111 Gostyngais i fy nghalon bur,
i wneuthur drwŷ orfoledd.
Dy ddeddfau di tra fwŷf 'n y Bŷd,
a hynnŷ hŷd y diwedd.

**Samec.** *Y Bymthegfed Ran.*

35

112 Dychmygion ofer caseis i,
a'th gyfraith di a hoffais.
113 Lloches a tharian i'm ŷw d'air:
wrth dy air a disgwŷliais.
114 Ciliwch rai drwg oddiwrthi fi,
fy Nuw cadwaf fi ei gyfraith,

 115 Cynnal

115 Cynnal fi a'th air, a bŷw a wnâf,
ni wridaf am fy ngobaith.

36

116 O cynnal fi, fy Arglwŷdd Nâf,
a byddaf iâch dragwŷddol:
Ac yn dy ddeddfau iâch a bŷdd
fy llawenŷdd gwastadol.
117 Sethraist O Arglwŷdd, yr hôll rai
a ai oddiwrth dy ddeddfau:
Am mai oferedd gar dŷ fron
oedd eu dychmygion hwŷthau.

37

118 Difethaist hôll rai drŵg y tir,
fel y difethir sothach.
Am hŷn dy dystiolaethau di,
a gerais i yn anwylach.
119 O Arglwŷdd Dduw rhag ofn dy ddîg
fy ngnhawd a'm cîg a synnodd.
120 Rhag dy farnedigaeth di,
fy yspr ŷd i a ofnodd.

**Ain.** *Yr Unfedarbymtheg Ran.*

38

121 Barn a thrugaredd a wneuthŷm,
na ddôd fi i'm caseion:
122 O Arglwŷdd, dŷsg ddaioni i'th wâs,
achub rhag câs y beilchion.
123 Pallai 'ngolwg yn disgwŷl llawn
iechŷd o'th gyfiawn eiriau.
124 Yn ôl trugaredd a'th wâs gwna,
dŷsg i mi'n ddâ dy ddeddfau.

39

125 Dy wâs wŷf fi, deall i'm dôd,
i wŷbod dy ammodau.
126 Madws i't (Arglwŷdd) roddi barn,
torwŷd dy gadarn ddeddfau.
127 Mwŷ nag aur hoffais dy ddeddf di,
pe rhoen a'i goethi yn berffaith.
128 Yn uniawn oll a cyfrifais,
casais lwŷbrau diffaith.

**Pe.** *Y Deufedarbymtheg Ran.*

40

129 Rhyfedd ŷw dy dystiolaethau
fy enaid inneu a'u cadwodd.
130 Egorfail d'air yn oleu caid,
i weiniaid pwŷll a ddysgodd.
131 Dyheais gan chwant (O Dduw Iôn)
i'th lân orchmynion croŷw.
132 Edrŷch di arnaf megis ar
y rhai a gâr dy enw.

41

133 Yn ôl d'air cyfarwŷdda 'nhroed,
anwiredd na ddoed arnaf.
134 O gwared fi rhag trawsedd dŷn,
a'th orchymmŷn a gadwaf;
135 Llewŷrcha d'wŷneb ar dy wâs:
dŷsg i mi flâs dy ddeddfau.
136 Dagrau o'm golwg, llifo a wnent,
am na chadwent gyfreithiau.

**Tsade.** *Y Drydeddarbymtheg Ran.*

42

137 Cyfiawn ydwŷt (O Arglwŷdd Dduw)
ac iawn ydŷw dy farnau.
138 Dy dystiolaethau yr un wêdd,
ŷnt mewn gwirionedd hwŷthau.
139 Fy serch i'th air a'm difaodd,
pan anghofiodd y gelŷn.
140 Dy 'madrodd purwŷd drwŷ fawr râs,
hoffodd dy wâs d'orchymŷn.

43

141 Nid anghofiais dy gyfraith lân,
er bôd yn fychan f'agwedd.
142 Dy gyfiawnder cyfiawn fŷdd:
a'th ddeddf di sŷdd wirionedd.
143 Adfŷd cefais, a chystudd maith:
dy gyfraith ŷw 'nigrifwch.
144 Gwna i'm ddeall cyfiawnder gwiw
a byddaf fŷw mewn heddwch.

**Koph.** *Y Bedwareddarbymtheg Ran.*

44

145 Llefais a'm hôll golon, O clŷw,
a'th ddeddfau Dduw a gadwaf.
146 Arnat ti llefais, achub fi,
a'th lwŷbrau di a rodiaf.
147 Gwaeddais, achubais flaen y dŷdd,
wrth d'air yn ufudd gwiliais.
148 Deffroe fy llygaid ganol nôs,
o achos dy air a hoffais.

45

149 Clŷw fi'n ôl dy drugaredd ddâ,
bŷwhâ fi'n ôl dy farnau.
150 Arnaf rhai sceler a nessânt:
trosedddant dy gyfreithiau.
151 Titheu bŷdd agos, Arglwŷdd Dduw,
gwirionedd ŷw d'orchmynion,

152 Gwyddwn fôd dy dystiolaethau,
gwedi eu siccrhâu yn gryfion.

**Resh.** *Yr Ugeinfed Ran.*

46

153 Gwêl fy nghystudd i ar gais,
canŷs ofnais dy gyfreithiau.
154 Dadleua fy nadl, rhyddha fi'n rhôdd,
yn ôl ymadrodd dy eneu.
155 Ffordd iechŷdwriaeth sŷdd bell iawn,
oddiwrth anghyfiawn ddynnion,
Am nad ydŷnt yn ceisio'n glau,
mo lwŷbr dy ddeddfau union.

47

156 Dy drugaredd Arglwŷdd, aml ŷw,
gwna i'm fŷw'n ôl dy farnau.
157 Llawer sŷ'm herlid, 'rwŷf er hŷn,
yn dilŷn dy lân ddeddfau.
158 Gwelais y traws, a gresŷn fu,
iddŷnt ddirmygu d'eiriau.
159 Hoffais dy ddeddf, bŷwhâ 'fi Arglwŷdd
o herwŷdd dy drugareddau.

48

160 O'r dechreu dy air gwirionedd ŷw,
O Arglwŷdd Dduw y llywŷdd:
A'th gyfiawn farnedigaethau,
sŷdd yn parhau'n dragywŷdd.

**Schin.** *Yr Unfedarhugain Ran.*

49

161 Y cryf ar gam f'erlid a wnai:
rhag d'ofn a crynai 'nghalon.
162 Oblegid d'air, wŷf lawen iawn,
fel pe cawn dlysau mawrion.
163 Celwŷdd, ffieidd-dra a gasais,
a hoffais dy gyfreithiau:
164 Saith-waith bôb dŷdd y rhôf i't glôd,
am fod yn ddâ dy farnau.

50

165 Y sawl a gâr dy air, cânt hêdd,
drŵg nis goddiwedd monŷn.
166 Gwiliais Arglwŷdd wrth dy iechŷd,
gan wneuthŷd dy orchymmŷn.
167 Dy ddeddf cadwodd fy enaid i,
a hi yn fawr a hoffais
168 Am fôd fy llwŷbrau gar dy fron,
d'orchymynion nid anghofiais.

**Tau.** *Y Ddwŷfedarhugain Ran.*

51

169 O'th flaen Arglwŷdd nessaed fy nghri,
dŷsg i mi ddeall dy eiriau,
170 Gwared fi'n ôl dy 'madrodd rhâd,
dêl attad fy ngweddiau.
171 Dy fawl a draetha 'ngeneu'n wych
pan ddysgych i'm dy ddeddfau.
172 Datcan fy nhafod d'air yn rhwŷdd,
o herwŷdd dy gyfiawn eiriau.

52

173 Cymhorthed dy law fi ar gais,
dewisais dy orchmynion.
174 Cerais dy iechŷd, a'th ddeddf sŷdd
lawenŷdd mawr i'm calon.
175 Bo f'enaid bŷw, a mawl i't rhoed:
dy farn boed i'm amddiffŷn.
176 Crwŷdrais fel oen, dy wâs o cais,
canŷs cofiais dy orchymmŷn.

## PSALM. 120.

1

I'M ing y gelwais ar f'Arglwŷdd.
ac ef yn rhwŷdd a'm clybu
2 Duw gwared fi rhag tafod gau,
a genneu yn bradychu.
3 Dywaid i mi oes lês neu fael,
iw gael, O dafod distrŷw?
4 Geiriau fel llymmion saethau cawr,
ynghŷd a marwawr merŷw.

2

5 Gwae fi aros honof yn llêch,
ynghŷd a Mesech dwŷllgar:
A chyfannedd a'm gwersŷll,
yn nhrawsion bebŷll Cedar.
6 Hir a bu f'enaid i fut hon
ymŷsg caseion heddwch,
7 Os sôn am lonŷdd a wnawn i,
rhyfelai rheini yn rhŷ ffiwch.

## PSALM. 121.

1

DIsgwŷliaf o'r mynyddoedd draw,
lle a daw i'm help wŷllysgar.
2 Yr Arglwŷdd rhŷdd i'm gymmorth grêf,
hwn a wnaeth nêf a daiar.
3 Dy droed i lithro ef nis gâd,
a'th geidwad sŷdd heb huno:
4 Wele, ceidwad Israel lân,
heb hun, na heppian arno.

2

5 Ar dy law ddeheu mae dy Dduw
yr Arglwŷdd ŷw dy geidwad,

6 Dy

6 Dy lygru ni chaiff haul y dŷdd,
ar nôs nid rhŷdd i'r lleuad.
7. Yr Iôn a'th geidw rhag pôb drwg,
a rhag pôb cilwg anfad:
8 Cai fŷnd a dyfod bŷth yn rhwŷdd,
yr Arglwŷdd fŷdd dy geidwad.

PSALM. 122.

1

I Dŷ'r Arglwŷdd (pan ddweden)
i'm llawen iawn oedd wrando:
2 Sai'n traed o fewn Caer-Salem byrth,
yr un ni ſyrth oddiyno.
3 Caerſalem lân ein dinas ni,
ei ſail ſŷdd ynddi ei hunan,
A'i phobl ſŷdd ynddi yn gyttun,
a Duw ei hun, a'i drigfan.

2

4 Can's yno a daw y llwŷthau 'nghŷd,
yn unfrŷd, llwŷthau'r Arglwŷdd:
Tyſtiolaeth Iſrael a'i drig-fod,
a chlôd iw fawr ſancteiddrwŷdd.
5 Can's yno cadair y farn ſŷdd,
eiſteddfod Dafŷdd ſŷ yno.
6 Erchwch i'r ddinas hêdd a mawl:
a llwŷdd i'r ſawl a'th garo.

3

7 O fewn dy gaerau heddwch boed,
i'th lyſoedd doed yr hawddfŷd.
8 Er mwŷn fy mrodŷr mae'r arch hon;
a'm cymydogion hefŷd.
9 Ac er mwŷn tŷ'r Arglwŷdd, ein Duw,
hwn ynot ŷw'n rhagorol:
O achos hŷn yr archaf fi,
i ti ddaioni rhadol.

PSALM. 123.

1

T Uedda 'ngolwg at y nêf
(fy Nuw) dy lê trigianol.
2 Fel y trŷ gweiſion eu llygaid
at ddwylo eu meiſtraid bydol.
Llygaid llaw-forwŷn ar bôb trô,
a ddilŷn ddwŷlo ei meiſtres,
Diſgwŷliwn arnat (Dduw) 'r un wêdd,
am dy drugaredd gynnes.

2

3 Dy nawdd Arglwŷdd, dy nawdd yn rhôdd
a gafom ormodd dirmŷg.
4 Gan watwar y tŷm, a'r beilch iawn;
yr ŷm yn llawn boenedig.

PSALM. 124.

1

D Ymma'r amſer yn ddi-ngêl
a gall Iſrael, fynegi,
Yr Arglwŷdd nêf oni bae fôd,
a'i arfod gyda nyni.
2 Gyda ni oni bae ei fôd,
pan ddaeth gwrth-drafod dynnion:
3 Pan gododd llîd, i'n a phoeni,
llyngcaſent ni yn fŷwion.

2

4 Y dyfroedd a'n boddaſent ni,
a'n hoes dan gefn-lli buan:
5 Chwŷddaſent drofom, fel chwŷdd dwr:
fel dyna gyflwr truan.
6 Bendigaid Iôr ei law a droes:
ac ef ni roes mo honom
Yn yſclyfaeth i'n rhwŷgo'n frau,
a'u gwâg ddanheddau llymion.

3

7 Ein henaid aeth yn rhŷdd o lŷn
fel yr aderŷn gwirion,
Rhwŷd yr adarwr torri a wnaeth,
a ninnau aeth yn rhyddion.
8 Ein hôll gynnorthwŷ ni, a'n llwŷdd,
ſŷ'n nerth yr Arglwŷdd hawddgar,
Yr hwn drwŷ waith ei ddwŷlaw êf,
a greawdd nêf a daiar.

PSALM. 125.

1

S Awl a'mddiriedant yn Nuw Iôn,
byddant fel Seion fŷnydd,
Yr hwn ni ſŷfl: a'i ſylwedd frŷ
a beru yn dragywŷdd.
2 Fel a ſaif ſail Caerſalem frŷ,
a'i chylchu mae mynyddoedd:
Fellu yr Arglwŷdd yn gaer ſŷdd
dragywŷdd o gŷlch ei bobloedd.

2

3 Er na orphwŷs rhwŷſg clêdd hîr
yr enwir, ar cyfiawniaid,
Rhag i'r rhai cyfiawn yſtŷn llaw,
i deimlaw campau diriaid.
4 O Arglwŷdd Dduw yn bryſur gwna
i bôb dŷn dâ ddaioni;

Sef

Sef union attad ti yn glau
a bydd calonnau 'rheini.

3

5 Ond y drwg-ddyn Duw a'i gyr
gyda gweithwyr anwiredd ;
Mewn drwg ymdroes, fellu ymdroed,
ar Israel boed tangnhefedd.

## PSALM. 126.

1

PAn ddychwelodd ein gwir Dduw Iôn
gaethiwed Seion sanctaidd ;
Mor hyfryd gennym hyn bôb un,
a rhai mewn hun nefolaidd.
2 Nynl a'n genau, yn ddâ'n gwêdd,
gorfoledd ar ein tafod :
3 Ymhlith cenhedloedd dwedent hyn,
fe wnaeth Duw drostyn ormod.

2

4 Gwrthiau mawr a wnaeth Duw yn wir,
ein dwyn i'n tir cynnefin :
O gaethiwed y gelyn llym,
am hyn yr ym yn chwerthin.
5 O cynnull ein gweddillion ni,
trô adre 'rheini eilwaith,
Gan dy lif-ddyfroedd fel a gwlych,
y deheu sych, a'r diffaith.

3

6 Y rhai sy'n hau mewn dagrau blin,
hwyntwy dan chwerthin medant :
Fellu f'Arglwydd dan droi y Byd,
dwg ni igyd i'r meddiant
7 Y rhai dan wylo aeth o'r wlâd,
fel taflu hâd rhyd gryniau ;
Drwy lawenydd a dônt ynghyd,
fel casglu yd yn dyrrau.

## PSALM. 127.

1

Y Ty ni adeilado 'r Nêr,
ae'n ofer gwaith y saeri ;
A'r ddinas hon nis ceidw efo,
ni thyccia gwilio ynthi.
2 Os boreu godi, os hun hwyr,
a byw drwy lwyr ofudio,
Ofer igyd : Duw a rydd hun
i bôb rhyw un a'i caro.

2

3 Wele, y plant a roir i ddyn,
hiliogaeth yn i'r Arglwydd :
Ac o'i rodd ef daw ffrwyth y bru,
iw magu mewn sancteiddrwydd
4 Fel gwr cryf, ple bynnag a daw,
ac yn ei law ei saethau :
Plant yr ieuengctyd fellu a maen,
yn barch oflaen y tadau.

3

5 Pwy bynnag fydd a'i gwifr yn llawn,
mae'n ddedwydd iawn ei foddion ;
Hwy nis gwradwyddir pan ddêl man,
i 'mddiddan a'u gelynnion.

## PSALM. 128.

1

A Ofno'r Arglwydd, gwyn ei fyd,
a rhodio rhyd ei lwybrau.
2 Bwydtel o ennill gwaith dy law,
a blith a daw i titheu
3 Dy wraig ar barth dy dy is nen,
fel per winwydden ffrwythlon,
A'th blant ynghylch dy fwrdd a fydd
fel olewydd blanhigion :

2

4 Wele, dymma'r mòdd yn wir
'bendithir y gwr cyfion,
A ofno'r Arglwydd Dduw yn ddwys,
rhydd arno bwys ei galon.
5 Cei gyflawn fendith gan Dduw Iôn,
bydd ditheu Seion ddedwydd,
Fel a gwelych a goleu drem,
Gaersalem mewn llawenydd.

3

6 Hôll ddyddiau d'einioes, Plant dy blant,
cei weled llwyddiant iddynt,
Ac ar hôll deulu Israel,
daw hêdd diogel arnynt.

## PSALM. 129.

1

LLawer gwaith cefais gystudd mawr,
Israel yn awr dyweded,
O'm hieuengctyd i'r arw hon,
fe wyr fy mron eu trymmed.
2 A llawer gwaith a cefais lid,
o'm gwan ieuengctyd allan,
A blin gystudd ar lawer trô,
ac etto ni'm gorfuant.

2

3 Yr Ardd-wyr arddent fy nghefn mau,
drwy rwygo cwysau hirion :

4 Y cyfion Nêr torrodd yn frau,
bleth-didau'r annuwiolion.
5 Pa rai bynnag a roesant gâs
ar degwch dinas Seion,
Gwradwŷdder hwŷnt, cilient iw hôl,
y rhai annuwiol creulon.

3

6 Byddant fel y glâs-wellt a fai
ar bennau tai yn tyfu,
Yr hwn fŷdd, cŷn y tynner fô,
yn gwŷwo, ac yn methu
7 Ni leinw'r medelwr ei law,
ni chair o honaw ronŷn:
I'r cafclwr ni thâl ddim mo'i droi,
na'i drin, na'i roi mewn rhwŷmŷn:

4

8 Fel na bai bŷth gwiw gan y rhai
ar a dramwŷai heibio,
Ddywedŷd unwaith, Duw a rô llwŷdd,
neu'r, Arglwŷdd a'ch bendithio.

## PSALM. 130.

1

O'R dyfnder gelwais arnat Iôn,
2 O Arglwŷdd tirion gostwng
Dy glust, ystyria y llais mau,
clŷw fy ngweddiau teilwng.
3 Duw, pwŷ a saif yn d'wŷneb di,
os creffi ar anwiredd?
4 Ond fel i'th ofner di yn iawn,
yr wŷd yn llawn trugaredd.

2

5 Disgwŷliaf f'Arglwŷdd, wrth fy rhaid,
disgwŷliodd fy enaid arno.
Rhois fy hôll obaith yn ei air,
fy enaid a gair yn effro.
6 Ac am yr Arglwŷdd, gwilio y dŷdd
fwŷ na gwiliedŷdd difri,
A edrŷch blygain bôb pen awr,
a welo'r wawr yn codi.

3

7 Un wêdd disfwŷlied Israel,
yn ddirgel am yr Arglwŷdd,
Can's mae nawdd gyda'r Arglwŷdd nêf,
mae yntho ef rywiogrwŷdd.
Ei drugareddau ânt ar lêd,
fe rŷdd ymwared i ni
8 Fe werŷd Israel, fel hŷn,
fe'i tŷn o'i hôll ddrygloni.

## PSALM. 131.

1

YN fy nghalon ni bu falch chwŷdd,
O Arglwŷdd, na dim tynder,
Ni chodais chwaith drahaus wŷg
i'm golwg o dra uchder.
2 Ac ni rodiais ymma a thraw,
i dreiglaw pethau mawrion:
Ni fanwl chwiliais am wŷbod,
rhyfeddod a dirgelion.

2

3 Gostyngais f'enaid i mewn prŷd,
fel pan ddiddyfnwŷd herlod:
Fy enaid fŷdd fel un a fu
gwedi ei ddiddyfnu'n barod.
4 Ond disgwŷlied tŷ Israel
wrth wîr Emanuel beunŷdd.
Sêf wrth yr Arglwŷdd o'r prŷd hŷn,
heb derfŷn yn dragywŷdd.

## PSALM. 132.

1

O Cofia Ddafŷdd fy Nuw Nêr,
a'i hôll wrth-flinder hefŷd;
2 Pa lŵ adduned a roes fo
i Dduw Iago, gan ddywedŷd,
3 Nid âf ofewn pabell fy nhŷ,
a'm gwelŷ mwŷ nis dringaf:
4 Ni roddaf i'm dau lygad hûn
amrantun, chwaith ni chysgaf.

2

5 Nes 'caffwŷf gyfle yn ddi-rus,
i Arglwŷdd grymmus Iago.
6 Wele'n Ephrata clywsom fôd
lle o breswŷlfod iddo.
Cawsom hi ym meusŷdd y coed,
7 pawb doed iw bebŷll tirion,
Awn ymgrymmwn, pawb ufuddhaed,
wrth ei faingc draed yn union.

3

8 F'Arglwŷdd, cyfod i'th esmwŷth lŷs,
a'th arch o rymmus fawredd
9 Gwisged d'offeiriaid gyfion fraint,
gwisged dy Sainct wirionedd.
10 Er mwŷn Dafŷdd dy ffyddlon wâs,
na thŷn dy râs yn llidiog:
Ac na wrthneba di er neb,
mo wŷneb dy enneiniog.

4

11 I Ddafŷdd rhoes Iôn lŵ gwir,
a chedwir hwn heb wŷredd,
O ffrwŷth dy gorph rhôf ar dy faingc,
i't iraidd gaingc i eistedd.
12 Fy neddfau a'm cyfammod i,
dy feibion di os cadwant;
O blan i blan, o gaingc i gaingc
hwŷ ar dy faingc a farnant.

5

13 Can's fy Arglwŷdd, o serch a bôdd,
a rag-ddewisodd Seion:
I drigo ynthi rhoes ei frŷd,
gan ddwedŷd geiriau tirion.
14 Hon fŷdd fy ngorphwŷsfa i,
o hoffder ynthi trigaf.
15 Bendithiaf hi a bwŷd di ball,
a'i thlawd diwall o faraf.

6

16 Ag iechŷdwriaeth, mêdd Duw nâf,
a gwisgaf ei heglwŷswŷr,
A rhoddaf yngeneu pôb Sanct
o'i mewn, ogoniant psallwŷr.
17 Paraf hŷn ôll, ac fellu bŷdd,
corn Dafŷdd yn goronog:
Fellu darperais, gan fy mhwŷll,
brîf ganwŷll i'm eneiniog.

7

18 Am ei elynnion, o bôb parth
y gwiscaf warth, a gwradwŷdd,
Paraf hefŷd iw goron fo
flodeuo, mêdd yr Arglwŷdd.

## PSALM. 133.

1

WEle, fôd brodŷr yn bŷw 'nghŷd,
mor ddâ, mor hyfrŷd ydoedd.
2 Tebŷg i olew o fawr werth,
mor brydferth ar y gwisgoedd:
Fel pe discynnai draw o'r nen,
rhŷd barf a phen offeiriad,
Sef barf Aaron a'i wisg igŷd,
yn hyfrŷd ei arogliad.

2

3 Fel pe discynnai gwlith Hermon
yn dô dros Seion fynŷdd;
Lle rhwŷmodd Duw fywŷd, a gwlith
ei fendith yn dragywŷdd.

## PSALM. 134.

1

WEle, hôll weision Arglwŷdd nef,
bendithiwch ef, lle 'r ydŷch
Yn sefŷll yn nhŷ Dduw y nôs,
a'i gyntedd diddos trefn-wŷch.
2 Derchefwch chwi eich dwŷlo glân
yn ei gyssegr-lân annedd:
A bendithiwch a chalon rwŷdd,
yr Arglwŷdd yn gyfannedd.

2

3 Yr Arglwŷdd a'i ddehenlaw grêf,
hwn a wnaeth nêf a daiar,
A rotho ei fendith, a'i râs,
i Seion ddinas hawddgar.

## PSALM. 135.

1

O Molwch enw'r Arglwŷdd nêf,
ei weision êf moliennwch,
2 Y rhai a saif iw dŷ, a'i bŷrth,
i'n Duw a'i fawr wŷrth cenwch.
3 Molwch yr Arglwŷdd can's dâ ŷw,
clôd i'r Iôr bŷw a berthŷn:
Cenwch ei glôd dros yr hôll Fŷd,
a hyfrŷd ŷw y testŷn.

2

4 Oblegid yr Arglwŷdd, a'i nawdd,
ef a etholawdd Iago,
Ac Israel, iw mŷsg a trig,
yn deulu unig iddo.
5 Can's mawr ŷw'r Arglwŷdd yn ei lŷs,
mi a wn yn hysbŷs hynnŷ:
Ym mhell uwchlaw'r hôll dduwiau mân,
mae'r Arglwŷdd glân, a'i allu.

3

6 Hŷn ôll a fynnodd a wnaeth êf,
yn uchder nêf eithafon:
Ar ddaiar, ac yn y môr cau,
a holl ddyfnderau'r eigion.
7 O eithaf daiar cyfŷd tarth,
daw'r mellt o bôb parth hwŷthau,
Ac oer dymhestloedd, glaw, a gwŷnt,
a godŷnt o'i drysorau.

4

8 Yn nhîr yr Aipht dynnion, a dâ,
a llawer plâ a trawodd.

Y cyntaf-anedig o bôb un,
a'i law ei hun a lladdodd.
9 I'th ganol di, o'r Aipht greulon,
rhoes Duw arwŷddion rhyfedd,
Ar Pharo' a'i hôll weision igŷd:
dug drwŷ'r hôll fŷd orfoledd.

5

10 O nerth ei fraich efe a wnaeth,
lawer cenhedlaeth feirwon:
A lladdodd lawer yr un wêdd
o ben brenhinedd cryfion
11 Sêf o'r Amoriaid Sihon fawr,
ac Og, y cawr o Basan:
A'r un ddinistriad arnŷnt aeth,
a hôll frenhiniaeth Canaan

6

12 A'u hôll diroedd hwŷnt igŷd:
gyda'u hôll fywŷd bydol,
I Israel i roi a wnaeth,
yn etifeddiaeth nerthol.
13 Dy enw (O Arglwŷdd) a'th nerth crŷ,
a berŷ yn dragywŷdd,
Ac o genedl i genhedlaeth
dy goffadwriaeth, lywŷdd,

7

14 Canŷs ar ei bobl a rhŷdd ef farn
yr Arglwŷdd cadarn cyfion,
Ac yn ei hôll lywodraeth bur,
bŷdd dostur wrth ei weision.
15 Y delwau ôll, gwaith dwŷlaw ŷn,
a dyfais dŷn anffyddlon;
O aur ac arian dŷn a'u gwnaeth,
o hil cenhedlaeth weigion.

8

16 O waith dŷn, geneu rhŵth sŷdd,
heb ddim llyferŷdd iddŷn:
Ac mae llun llygaid mawr eu llêd,
a'r rhain heb weled gronŷn.
17 Dwŷ glust dynnion i bôb un,
heb glywed mymrŷn etto,
Eu safn sŷdd eheng, ac ni chaid
na chwŷth nag enaid yntho.

9

18 Uu fôdd a'r delwau sŷdd y rhai
a'u gwnélai hwŷnt a'u dwŷlo,
Ac nid ŷw well na'r rhain yr un,
ynthŷn a ymddiriedo.
19 Tŷ Israel, na choeliwch chwi,
Tŷ Aaron, Lefi ufudd,

20 I'r rhain ddim, ond i'r Arglwŷdd nef
bendithiwch e'n dragywŷdd.

10

21 Bendithier fŷth mawr enw'r Iôn,
o Seion hên a barchem,
Bendithier, a moler ei enw fo,
sŷ'n trigo ynghaer Selem.

## PSALM. 136.

1

MOlwch yr Arglwŷdd, can's dâ ŷw,
mollennwch Dduw y llywŷdd,
Can's ei drugaredd oddi frŷ,
a berŷ yn dragywŷdd.
2 Molwch chwi Dduw y duwiau'n rhwŷdd
3 ac Arglwŷdd yr arglwŷddi,
4 Hwn 'unig a wnaeth wrthiau mawr,
drwŷ ei ddirfawr ddaloni.

2

5 Gwnaeth a'i ddoethineb nêf uwchben,
a'r ddaiaren, a'r dyfroedd,
6 Y rhai ŷw prîf sylwedd y Bŷd,
ac igŷd o'i drugaredd.

3

7 'R hwn a wnaeth oleuad mawr;
o'r nêf hŷd lawr a'i fawredd.
8 Haul y dŷdd, A'r lleuad y nôs,
9 i ddangos ei drugaredd.
10 'Rhwn a darawodd yr Aipht iw ddi
a'r blaen-anedig ynthi
11 Ac a ddug Israel iw daith,
ac ymmaith o'u hôll gledi.

4

12 A hŷn drwŷ law grêf, a braich hîr,
o rŷm ei wir ogonedd:
13 A hollti'r môr côch yn ddwŷ ran,
o anian ei drugaredd.
14 Dug Israel i'r lan yn wŷch,
fel dyna ddrŷch gorfoledd:
15 Ysgyttio Pharo, a'i hôll lu,
a hŷn a fu ei drugaredd.

5

16 A dwŷn ei bobloedd yn ddichwŷs
drwŷ wledŷdd dyrŷs anian:
17 Taro brenhinoedd er eu mwŷn,
ac fellu eu dwŷn hwŷ allan.
18 Llâdd llawer brenin cadarn llon;
19 sef Sihon yr Amoriaid:
20 Ac Og o Basan yn un wêdd,
o'i fawr drugaredd dibaid.

6
21 A'i hôll diroedd hwynt igyd,
eu rhoi yn fywŷd bydol
22 I Israel ei wâs a wnaeth,
yn etifeddiaeth nerthol.
7
23 Hwn mewn cystudd a'n cofiodd ni,
o'i fawr ddaioni tirion.
24 Ac a'n hachubodd yn ddiswrth
oddiwrth ein hôll elynnion.
25 Yr hwn a ymbŷrth bôb rhŷw gnawd,
yn ddi dlawd o'i drugaredd,
26 Clodforwch Dduw brenin y nêf,
rhowch iddo êf ogonedd.
8
27 Molwch Arglwŷdd yr arglwŷddi,
uwchben pôb rhi o fawredd
Duw'r duwiau, Iôr uwchben pôb Iôn,
ffynnon y drugaredd.

## PSALM 137.

1
PAn oeddŷm gaeth yn Babilon,
ar lan prîf afon groyw,
Mewn coffadwriaeth am Seion,
hidlason ddagrau'n loyw.
2 Rhoddasom ein telynu 'nghrôg,
ar goed canghennog irion,
Lle yr oedd prennlau helŷg plan,
oddeutu glan yr afon.
2
3 Y rhai a'n dug i garchar caeth,
i ni yn ffraeth gofynnen,
(A ni'n bruddion) gerdd i Seion,
o fywaith pêth nis gallen.
4 O Dduw pa fôdd a canai neb,
(rhoem atteb yn ystyriol)
Ichwi o gerdd ein Harglwŷdd dâd,
a ni mewn gwlâd estronol?
3
5 Os â Caersalem o'r côf mau,
anghofied deheu gani:
6 Na throed fy nhafod, oni bŷdd,
hi'n ben llawenŷdd i mi
7 Cofia di Dduw, blant Edom lem,
yn nŷdd Caersalem hawddgar:
Noethwch, dinoethwch (meddei rhain)
ei mur, a'i maen i'r ddaiar.
4
8 Bŷdd gwŷn eu bŷd y sawl a wnêl
i ti, merch Babel rŷ-dost,
Yr unrhŷw tesur, gan dy blau,
i ninnau fel y gwnaethost.
9 Y sawl a gymro dy blant di,
boed y rheini fendigedig,
Ac a darawo'r happil tau,
a'u pennau wrth y cerrig.

## PSALM. 138.

1
RHôf fawrglod i ti, fy Nuw Iôn,
o ddyfnder calon canaf:
Yngŵydd hôll Angylion nêf
a'm hôff lêf a'th foliannaf.
2 Ymgrymmaf tua'th sanctaidd dŷ,
dan ganu o'th drugaredd,
A'th enw mawr uchlaw pôb pêth,
a'th air, difeth wirionedd.
2
3 Y dŷdd y gelwais arnat ti,
gwrandewaist fi yn fŷan:
Yno nerthaist a chrêf blaid,
fy enaid i oedd egwan.
4 Doed brenhinoedd y ddaiar hon,
a rhoen i't union foliant.
Addolent ôll ein gwir-Dduw ni,
canys dy eiriau di a glywsant.
3
5 Yn ffŷrdd yr Arglwŷdd yr un wêdd,
ac am ei fawredd canant:
Gan ddangos drwŷ'r hôll Fŷd ei fraint,
a maint ŷw ei ogoniant.
6 Uchel ŷw'r Iôn, etto fe wêl
yr ufudd isel ddynnion:
A gwêl o hirbell, ar eu plau,
y beilch a'r gwarrau sythion.
4
7 Pe bae yn gyfyng arna'r Bŷd,
ti a'm bŷwheuit eilwaith:
Gan ystŷn llaw i ddwŷn dy wâs
oddiwrth rai atcas ymaith.
8 Yr Arglwŷdd a gyflawna a mi,
Duw dy ddaioni rhag llaw,
Ac yn dragywŷdd i mi dôd:
na wrthod waith dy ddwŷlaw.

## PSALM. 139.

1

ARglwydd, manwl a chwiliaist fi,
da i'm adwaeni hefyd:
2 Fy eisteddiad, codiad, gwyddost hyn,
a'm meddwl cyn ei ddwedyd.
3 Yr wyt ynghylch fy lloches i,
a'm ffyrdd sydd i ti'n hysbys:
4 Nid oes air nas gwyddost ei fôd
ar flaen fy nhafod ofnys.

2

5 O'm hôl ac o'm blaen i'm lluniaist,
dy law a ddodaist arnaf:
6 Gwybodaeth ddieithr yw i mi,
a'i deall hi nis medraf:
7 I ba le'r âf fi i roi trô,
i 'mguddio rhag dy Yspryd?
I ba le ffoaf rhag dy wydd,
drwy gael ffordd rwydd i lathlyd?

3

8 Os dringaf tua'r nefoedd fry,
wyt yno i'th dy perffaith:
Os tua'r dyfndwr, gostwng trô,
yr wyt ti yno eilwaith.
9 Pe cawn adenydd boreu wawr,
a mynd i fôr mawr anial,
10 Yno bydd dy ddwy-law di,
i'm tywys i, a'm cynnal.

4

11 A phe meddyliwn, yr ail tro,
ymguddio mewn tywyllwg,
Canol y nôs fel hanner dydd,
mor oleu fydd yn d'olwg.
12 Nid dim tywyllach nôs i ti
nag yw goleuni haf-ddydd:
A'r ddau i ti maent yr un ddull,
y tywyll a'r goleu ddydd.

5

13 Dá gwyddost y dirgelwch mau,
fy 'rennau a feddiannaist,
Ynghrôch fy mam pan oeddwn i,
yno dy di a'm cuddiaist.
14 Can's rhyfedd iawn a gwnaethost fi
a'th waith di sy ryfeddod,
A'm henaid a wyr hynny'n ddâ,
a hon a wna i't fawrglod.

6

15 Ni chuddiwyd fy ngrym rhagot ti,
pan wnaethost fi yn ddirgel,
Fel llunio dyn o'r ddaiar hon,
ofewn pridd eigion isel.
16 Dy lygaid gwelsant fy nhrefn wael,
cyn i mi gael perffeith-lun.
Roedd pob peth yn dy lyfr yn llawn,
cyn bôd yn iawn un gronun.

7

17 Mor anwyl dy feddyliau i'm,
mor fawr yw sum y rheini:
18 Wrth fwrw, amlach gwn eu bôd
na'r tywod o rifedi.
Myfyrio pan ddeffrowyf fi,
'rwyf gyda thi yn gwbl ol.
19 O Dduw, pa achos yn dy lid,
na leddid yr annuwiol?

8

O Dduw pe cospid rhai o'r rhain
y sydd yn arwain traha,
Wrth y gwaedlyd fe gaid dwedyd,
dydi dôs oddiymma.
20 Y rhai amdanaf f'Arglwydd cu,
sy'n treuthu pethau sceler,
A'th elynnion dibris eu llw,
cymrasant d'enw'n ofer.

9

21 Ond câs yw gennif, O Dduw Iôn,
dy holl gaseion gwaedlyd?
Ond ffiaidd gennif fi bôb dyn,
a ae yn d'erbyn hefyd?
22 A llawn gâs y caseais hwynt,
ynt fel ar bwynt gelynnion,
23 O chwilia fi, O Dduw yn hy,
cei hynny yn fy nghalon.

10

Duw prawf fy meddwl yn fy mol,
24 Oes ffordd annuwiol gennif;
Gwêl fi, tywys, dwg fi yn f'ol,
dôd ffordd dragwyddol i mi.

## PSALM. 140.

1

RHag gwr drwg gwared fi (fy Nêr)
rhag gwr y trawsder efrydd,
2 Rhag sy'n bradychu yn ddirgel,
a chasglu rhyfel beunydd.
3 Fel colyn sarph yn llithrig wedd,
yw eu tafodau llymion:
Gwenwyn yr asp sydd yn [illegible]
dan eu gwefusau creulon,

2

4 Rhag y dŷn drwg, rhag y gŵr traws
sŷ'n mysŷr lliaws faglau.
Duw gwared fi, rhag gosod brâd,
ynghŷlch fy ngwstad lwybrau.
5 Y beilch cuddiasant fagl, a rhwŷd,
wrth hon gosodwŷd tannau;
Ar draws fy ffŷrdd i ddal fy nhroed:
ynghudd a rhoed llinynnau.

3

6 Dwedais wrth f'Arglwŷdd fy Nuw wŷd,
tŷn fi o'u rhwŷd a'u maglau:
O gwrando'n fuan f'Arglwŷdd nêf,
ar brudd lêf, fy ngweddiau.
7 Fy Arglwŷdd ŷw fy nerth igŷd,
a'm coel, a'm iechŷd calon;
Ti a roist gudd tros fy mhen mau,
yn nŷdd yr arfau gloŷwon:

4

8 I'r dŷn annuwiol, Duw na âd,
ddymmuniad drwg ei 'wŷllŷs;
Rhag ei wneuthur ef yn grŷ,
a'i fŷnd yn rhŷ drahâus.
9 A'i holl ddymuniad drwg i mi,
a'i regen weddi greulon,
Y rhain yn llwŷr a ddont ymmhen
y capten o'm caseion.

5

10 Syrthied arnŷnt y marwor tân,
ac fellu llosgan ymaith,
Bwrier hwŷnt mewn ceuffosŷdd nant,
fel na chyfodant eilwaith.
11 Dŷn llawn siarad fŷdd anwastad,
ni eistedd ef yn gryno:
A drwg a ymlid y gŵr traws,
a hŷn mae'n haws ei gwŷmpo.

6

12 Da gwn y rhŷdd yr Arglwŷdd dâl
i ddial cam y truan,
Ac yr iawn farna y dŷn tylawd
sŷ'n bŷw ar geidwad fechan.
13 Y rhai cyfiawn drwŷ yr holl fŷd,
dy enw a gŷd foliannant
A'r holl rai union, heb ofn nêb,
o flaen dy wŷneb trigant.

PSALM. 141.

1

D Brysia Arglwŷdd clŷw fy llais,
o fysur gelwais arnad;
O'r man lle bwŷf, gwrando fy llêf,
a doed i'r nêf hŷd attad.
2 Fy ngweddi gar dy fron a ddaw,
gan godi dwŷlaw'n uchel,
Yn arogl darth, ac aberth hwŷr,
fel union ddiwŷr lefel.

2

3 O Arglwŷdd gosod, rhag gair ffraeth,
gadweldiaeth ar fy ngeneu,
Rhag i'm gam-ddwedŷd, gosod ddôr
ar gyfor fy ngwefusau.
4 Na phwŷsa 'nghalon ar ddrwg bêth,
ynghŷd bleth a'r annuwiol:
Nag mewn cŷdfwriad gwaith neu wêdd,
rhag twŷll eu gwlêdd ddaintethol.

3

5 Boed [illegible]p a cherŷdd y cyfiawn,
fel o[illegible] gwerthlawn arnaf;
Ni friwa fy mhen, pa mwŷaf fô,
mwŷ trosto a weddiaf.
6 Eu barnwŷr pe bwrrid i'r llawr,
ar greigiau dirfawr dyrus:
Gwrandawent ar fy 'madrodd i,
a chlywent hi yn felus.

4

7 Fel darnau cynnŷd o goed mân,
a fwrlan rhŷd y ddaiar,
Mae'n hesgŷrn ninnau yr un wêdd,
ym mron y bêdd ar wasgar.
8 Mae 'ngolwg a'm holl obaith i,
Duw arnat ti dy hunan:
Duw bŷdd di'n unig yn fy mhlaid,
na fwrw f'enaid allan.

5

9 Cadw fi Arglwŷdd rhag y rhwŷd,
hon a osodwŷd i mi,
Telm yr annuwiol a hoenŷn main,
rhag ofn i'r rhain fy maglu.
10 Yr anwireddwŷr heb ado un,
cwŷmpant eu hun iw rhwŷdau,
Ymddiried ynot ti a wnâf,
ac fellu diangaf finneu.

PSALM. 142.

1

R Hois weddi ar yr Arglwŷdd nêf,
yn llŷm fy llêf ymbiliais;
2 A'm holl fyfyrdod gar ei fron,
o'm calon a tywelltais.

3 Ond pan fynegais it fy nghur,
a'm dolur o'm meddyliau,
Dâ gwŷddit ti bôb ffordd, a'r man,
a rhoesan i mi faglau.

2

4 O'r tu deheu nid oedd i'm neb,
trown f'wŷneb, a'm hadwaenai,
Na nawdd, na neb, o du'n y bŷd,
fy mywŷd a ymgleddai.
5 Arnad llefais, wrthŷt dwedais,
Duw, di a ydwŷd union:
Fy nghwbl obaith wŷt ti yn wîr,
a'm rhan yn nhir y bŷwion.

3

6 O ystŷr Arglwŷdd, faint fy nghri,
rwŷf mewn trueni digllon:
Rhag fy erlidwŷr gwared fi,
mae rheini yn rhŷ gryfion.
7 O garchar caeth fy enaid tŷnn,
dy enw am hŷn a folaf:
Pan weler dy fôd ar fy rhan,
y cyfion tywŷsan attaf.

## PSALM. 143.

1

ERglŷw fy arch, O Arglwŷdd mâd,
rwŷf arnad yn gweddio:
O'th wirionedd, a'th gyfiawnedd,
gosyniaf i't fy ngwrando.
2 Ac na ddôs i'r farn a'th wâs, gwael,
(pa lês i'm gael cyfiawnder?)
Am nad oes dŷn bŷw gar dy fron
yn gyfion pan ei teimler.

2

3 Y gelŷn a erlidiodd f'oes;
mewn llŵch i'm rhoes i orwedd:
Fel y rhai meirwon a fai'n hir,
is tywŷll dir a'u hannedd.
4 Yna fy yspryd mewn blin ing,
a fu mewn cyfing-gyngor:
5 Ac ar fy nghalon drom daeth braw:
ond wrth fyfyriaw rhagor.

3

Mi a gofiais y dyddiau gŷnt,
a helŷnt gwaith dy ddwŷlo,
Am hŷn myfyriais, fy Nuw Nâf,
am hŷn myfyriaf etto.
6 Fy nwŷlaw attad rhois ar lêd,
lle mae fy ymddiried unig,
Am danad f'enaid sŷdd yn wîr,
un wêdd a'r tir sychedig.

4

7 Yn ebrwŷdd gwrando fi yn rhôdd,
O Arglwŷdd, pallodd f'yspryd:
Rhag i mi fyned i'r pwll du,
fel rhai a ddarfu eu bywŷd.
8 Pâr i'm ar frŷs glywed dy nawdd,
canŷs ynot hawdd a credais:
A dŷsg i'm rodio dy ffŷrdd rhâd,
fy enaid attad codais.

5

9 A gwared fi fy Nuw, a'm Iôn,
rhag fy ngelynnion astrus,
Am fôd fy lloches gyda thi:
10 O dŷsg i mi d'ewŷllŷs:
Canŷs di ydwŷt y Duw mau,
boed d'Yspryd tau i'm tywŷs
Ar yr uniondeb yn y tir,
dyna dy wir ewŷllŷs.

6

11 Duw, er mwŷn d'enw, fi bŷwha,
a helpa f'enaid tyner,
Allan o ing. Duw cair ei ddwŷn,
ac er mwŷn dy gyfiawnder.
12 A gwna ar elynol blaid,
caseion f'enaid, gerŷdd:
Difetha hwŷnt er mwŷn dy râs,
mi ydwŷf dy wâs ufudd.

## PSALM. 144.

1

BEndigaid fo'r Arglwŷdd, fy nerth,
mor brydferth yr athrawa
Fy nwŷlo i ymladd, a'r un wêdd
fy mysedd i ryfela.
2 Fy nawdd, fy nerth, fy Nuw, fy nghrêd,
fy nhŵr, f'ymwared unig:
Trwŷddo ef fy mhobl a gâf
tanaf yn ostyngedig.

2

3 Pa beth ŷw dŷn, dywaid O Dduw,
pan fyddŷt iw gydnabod?
A mâb dŷn pa beth ŷw fo,
pan fŷch o hono'n darbod?
4 Pa bêth ŷw dŷn? peth yr un wedd
a gwagedd heb ddim o hono;
A'i ddyddiau'n cerdded ar y rhôd,
fel cysgod yn mŷnd heibio:

5 Gostwng

3

5 Gostwng y nefoedd, Arglwydd dâ,
ac edrych draha dynnion:
Duw cyffwrdd a'r mynyddoedd fry,
gwna iddynt fygu digon.
6 Iw gwasgar hwynt gyrr fellt i wau,
iw lladd gyrr saethau tanbaid.
7 Disgyn, tyn fi o'r dyfroedd mawr:
hyn yw, o law'r estroniaid.

4

8 Duw gwared fi, geneuau'r rhain
a sydd yn arwain gwegi:
A'u deheu-law sydd yr un bwyll,
ddeheu-law twyll, a choegni.
9 I ti Dduw, canaf o fawrhâd,
yn llafar ganiad newydd,
Ar Nabl, ac ar y Dêg-tant,
cei gerdd o foliant beunydd.

5

10 Duw i frenhinoedd rhoi a wnaeth,
ei swccraeth at iawn reol:
Dan ymwared Dafydd ei wâs,
rhag cleddyf câs newidiol.
11 Duw gwared, achub fi wrth raid,
rhag plant estroniaid digus,
A'u safn yn llawn o ffalsder gau,
a'u dehau yn dwyllodrus

6

12 Bydd ein meibion fel plan-wydd cu
o'r bôn yn tyfu yn iraidd:
A'n merched ni fel cerrig nâdd,
mewn conglau neuadd sanctaidd.
13 A'n conglau'n llawnion o bôb peth,
a'n defaid, difeth gynnydd.
Yn filoedd (mawr yw'r llwyddiant hwn)
a myrddiwn i'n heolydd.

7

14 A'n hychen cryfion dan y wêdd,
yn hy-wedd, ac yn llonydd:
Heb dorr, na soriant i'n mysg ni,
na gweiddi i'n heolydd.
15 Dedwydd ydyw y bobl sy,
a phôb peth fellu ganthynt:
Bendigaid yw'r bobl y rhain yw,
a'r Arglwydd yn Dduw iddynt.

## PSALM. 145.

1

MI a'th fawrygaf di, fy Nuw,
canys dydi yw fy llywydd,
Bendithio dy enw byth a wnaf,
mi a'i molaf yn dragywydd.
2 Dy enw a folaf fi bôb dydd
a'th glôd a fydd heb orphen,
3 Yr Arglwydd sydd glôd-fawr heb wêdd,
a'i fawredd sydd heb ddiben.

2

4 Cenedl wrth genedl a rônt fawl
i'th ogoneddawl wrthiau;
Gan danu dy nerth rhyd y byd,
a dwedyd dy gynneddfau,
5 Am dy ogonedd mawr, fy Nâf,
mynegaf, a'th gadernyd.
6 Sôn am dy bethau ofnadwy,
gwnânt hwy a minneu hefyd.

3

7 Llwyr goffadwriaeth o honot ti,
a'th fawr ddaioni a draethant:
Ac o'th gyfiawnder fy Nuw Iôn,
a llafar dôn y canant:
8 Sef grasllawn yw ein Arglwydd ni,
ac o dosturi rhyfedd:
Hwyr, ac anniben yw i ddig:
llawn frydig i drugaredd.

4

9 Da yw yr Arglwydd i bôb dyn,
a'i nodded sy'n dycciannol:
Ac ar ei hôll weithredoedd ef
daw nawdd o'r nef yn rasol.
10 Dy hôll weithredoedd di i'th lwydd,
O Arglwydd a'th glodforant:
Dy wyrth pan welo dy Sainct di,
y rheini a'th fendithiant.

5

11 Gan sôn am drugaredd, a grâs
dy deyrnas, a'i chadernyd:
Fel dyna'r gerdd sydd yn parhau,
yn eu geneuau hyfryd.
12 Fel a parent trwy hyfryd glôd,
gydnabod a'th deyrnassiad,
A'th nerth ym mysg hôll ddynol blant,
a'th lawn ogoniant gwastad.

6

13 Brenhiniaeth dy deyrnas fry,
a berry yn wastadol,
A'th lywodraeth o oed i oed,
hon a roed yn dragwyddol.
14 Yr Arglwydd cynnal ef yn llonn,
y rhai sy 'mron eu cwympod.

Ac ef a gyfŷd bawb yn wir,
 a'r a oſtyngir iſod.

7

15 Wele, mae llygaid yr hôll fŷd
 yn diſgwŷl wrthŷd Arglwŷdd,
Ditheu a'u porthi hwŷnt igŷd,
 bawb yn ei brŷd yn ebrwŷdd.
16 A phan egorech di dy law,
 o honi daw diwall-faeth?
D'ewŷllŷs da ŷw ymborth bŷw,
 a hynnŷ ŷw eu lluniaeth.

8

17 Hôll ffŷrdd yr Arglwŷdd cyfion ŷnt
 a'i wrthiau ydŷnt ſanctaidd:
18 Agos i bawb a ydŷw fo,
 a eilw arno'n buraidd.
19 Sef ar y gwŷr a'i hofnant ef,
 fe glŷw eu llêf iw gwared,
Fe rŷdd eu hwllŷs hwŷnt, a'u harch,
 o'i wir barch, Iôn gogoned.

9

20 Pôb dŷn a garo'r Arglwŷdd nêf,
 caiff gantho ef ei 'mddiffŷn:
A chan ddifetha rhŷdd oes ferr,
 i bôb yſceler cyndŷn.
21 Fy enaid traethed fendith rhwŷdd,
 a mawl yr Arglwŷdd nefol:
A phôb cnawd rhoed iw enw, y Sanct,
 ogoniant yn dragwŷddol.

## PSALM. 146.

1

Fy enaid mola'r Arglwŷdd nêf,
 a Mi a'i molaf ef i'm bywŷd:
Dangoſaf glôd i'm Harglwŷdd Dduw,
 tra gallwŷf fŷw na ſymmud.
3 Na hyderwch ar Dwŷſogion,
 nac ar blant dynion bydol:
Am nad oes ynthŷnt hwŷ igŷd,
 na help nac iechŷd nerthol.

2

4 Pan êl y ffun o'r geneu gwael,
 a'r corph i gael daiar-lân,
Felly dychwel, fel dyna'r dŷdd
 a derfŷdd ei hôll amcan.
5 Y prŷd hwn gwŷn ei fŷd efô
 a rotho ei hôll obaith
[illegible] Iago yn gymorth dâ,
 [illegible] oddiyma'n ymaith.

3

Hwn Dduw a wnaeth nêf, daiar, môr,
 a'r hôll yſtôr ſŷdd ynthŷnt:
6 Hwn a ſaif yn ei wir ei hun,
 prŷd na bo un o honŷnt.
7 Yr hwn i'r gwael a rŷdd farn ddâ,
 a bara i'r newŷnllŷd,
Fe ollwng Duw y rheidus gwâr,
 o'i garchar, ac o'i gaeth-fŷd.

4

8 Yr Arglwŷdd egŷr lygaid dall,
 ef a dŷr wall gwael ddynnion:
Ymgleddu'r gwan 'mae'n Harglwŷdd ni,
 a hoffi y rhai cyfion.
9 Dieithraid, a'r ymddifad gwan,
 a'r weddw druan unig,
Duw a'u pŷrth: ond dyryſu 'wnai
 hôll ffŷrdd pôb rhai cythreulig.

5

10 Yr Arglwŷdd yn teyrnaſu a fŷdd,
 dy Dduw tragywŷdd Seion:
O oes i oes perŷ dy lwŷdd;
 molwch yr Arglwŷdd tirion.

## PSALM. 147.

1

Molwch yr Arglwŷdd, can's da ŷw
 canu i Dduw yn llafar:
O herwŷdd hyfrŷd ŷw ei glôd,
 a dâ ŷw bôd yn ddiolchgar.
2 Caerſalem dinas gyflawn fŷdd,
 yr Arglwŷdd ſŷdd iw darpar:
Gan gaſglu Iſrael ynghŷd,
 a fu drwŷ'r Bŷd ar waſgar.

2

3 Yr unig Arglwŷdd ſŷ'n iachau,
 yn rhŷdd o friwiau'r galon.
Yr Arglwŷdd rhwŷm eu briwiau'n iawn
 y rhai dolur-lawn cleifion.
4 Yr Arglwŷdd ſŷdd yn rhifo'r ſêr,
 a phôb rhŷw nifer 'honŷnt:
Ef a'u geilw hwŷnt ôll yn glau,
 wrth briod enwau eiddŷnt.

3

5 Mawr ŷw ein Harglwŷdd ni o nerth,
 a phrydferth o raſſondeb;
Ac mae'n bell iawn uwch ben pôb rhif,
 ſôn am ei brîf ddoethineb.

Elisabeth Watkins

6 Yr Arglwydd unig, sydd yn dal
i gynnal y rhai gweiniaid,
Ac ef a ostwng hyd y llawr
y dorf fawr annuwiolíaid.

4

7 Cenwch i'r Arglwydd fel y gwedd,
clodforedd iddo a berthyn:
O cenwch, cenwch gerdd i'n Duw,
dâ ydyw gyda'r delyn:
8 Hwn a chymylau toaes y nen,
a glaw'r ddaiaren gwlychodd,
I wellt gwnaeth dyfu ar y fron,
a llysiau i ddynnion parodd.

5

9 Hwn i'r anifail ar y bryn
a rydd yr hyn a'i portho:
Fe bortha gywion y cig-frain,
pan font yn llefain arno.
10 Nid oes gantho mewn grym un march,
na serch, na pharch, na phleser:
Nac mewn esgair, neu forddwyd gwr,
fel dyna gyflwr ofer.

6

11 Yr Arglwydd rhoes ei serch ar ddyn
yr hwn y syn ei hoffi;
Ac sydd yn disgwyl cael ei nawdd,
caiff hwn yn hawdd ddaioni.
12 O Caersalem gyflawn o lwydd
molianna'r Arglwydd eiddod;
O Seion sanctaidd, dôd un wedd
i'th Dduw glodforedd barod.

7

13 Herwydd yr Arglwydd a'i fawr wyrth,
a wnaeth dy byrth yn gryfion:
A rhoes ei fendith, a thycciant,
ymlhith dy blant a'th wyrion.
14 Hwn a roes heddwch yn dy fro,
fel y cynnyddo llwyddiant,
Ac a ddiwallodd yn eich plith,
o fraster gwenith, borthiant.

8

15 Ei orchymmyn, ef a ddenfyn
o'i ddawan-fawr air cymlæsur,
Hwn ar y ddaiar â ar led,
ac yno rhêd yn brysur.
16 Eirch i'r eira ddisgyn fel gwlân:
eirch rew fel tân, fel lludw,
Eirch iâ, fe ddaw yn desyll cri,
pwy erys oerni hwnnw?

9

18 Wrth ei air eilwaith ar ei hynt,
fe bair i'r gwynt ochneidio
I doddi'r rhain, ac felly bydd
i'r hôll afonydd lifo.
19 Grym ei air, a'i ddeheu law gref,
a ddengys ef i Iago,
A'i ffyrdd a'i farn i Israel,
a'r rhai a ddêl o hono.

10

20 Ni wnaeth efe yn y dull hwn,
a nêb rhyw nasiwn arall:
Ni wyddent farnau'r Arglwydd nêf,
O molwch ef yn ddiball.

## PSALM. 148.

1

1 O Molwch yr Arglwydd o'r nêf,
rhowch lêf i'r uchel leoedd.
2 Molwch hwn hôll Angelion nêf,
molwch ef ei hôll luoedd.
3 Yr haul, a'r lleuad, a'r hôll sêr,
y gloywder, a'r goleuni.
4 Nêf y nefoedd, a'r ffurfafen,
a'r dwfr uwch ben y rheini.

2

5 Moliannant enw'r Arglwydd nêf,
hwynt a'i air ef a wnaethbwyd.
Dywedodd y gair, a hwy fel hyn
ar ei orchymmyn crewyd.
6 Rhoes reol iddynt i barhau,
fel deddfau byth iw dilyn:
Rhoes bôb peth yn ei lê'n ddi os,
nad elo dros ei derfyn.

3

7 Molwch yr Arglwydd o'r ddaiar,
chwychwi ysgrywgar ddreigiau,
8 Y tân, a'r cenllysg, eira, a tharth,
a'r gwynt o bôb parth ynteu.
9 Mynyddoedd, bryniau, ffrwythlon wydd,
a'r tirion gedrwydd briggog:
10 Anifeiliaid, ac ymlusgiaid maes,
ac adar llaes asgellog.

4

11 Brenhinoedd daiar, barnwyr-byd,
swyddwyr ynghyd a'r bobloedd,
12 Gwyr ieuaingc, gwyryfon, a gwyr hên,
pôb bachgen ymlhôb oesoedd.

13 Molant ei enw ef ynghyd,
uchel a hyfryd ydoedd,
Ei enw ef sydd uchel ar
y ddaiar oll, a'r nefoedd.

5

14 Can's corn ei bobl a dderchafawdd,
yn fawl a nawdd i'r eiddo,
I Israel, ei etholedig,
a drig yn agos atto.

## PSALM. 149.

1

CEnwch i'r Arglwydd, ac iawn fydd,
ryw ganiad newydd rhyfedd:
A chlywer ynghynlleidfa'r Sainct,
ei fawr fraint, a'i orfoledd.
2 Boed Israel lawen, a ffraeth,
yn Nuw a'i gwnaeth yn ddibrin:
A byddant hyfryd blant Seion,
yn Nuw eu tirion frenin.

2

3 Molant ei Enw ar y bibell,
a thympanell, a thelyn;
4 Can's bodlon yw, iw bobl igyd,
rhydd iechyd i'r lledneisiddyn.
5 Iw Sainct ef doed gorfoledd iawn,
a hon yn llawn gogoniant,
Yn eu gwlâu, (yn llawen ddull)
ac yn eu stefyll canant.

3

6 Yn eu genau bydd cerdd bôb awr,
i'n Duw a'i fawr ryfeddod,
Ac yn eu dwylaw bydd iw dwln,
y cleddyf deufin parod;
7 Ar estroniaid i'n dial ni,
ac i gosp boeni'r bobloedd.
8 I roi mewn caethder cadwyn drô
i rwymo eu brenhinoedd.

4

I roi eu pendefigion chwyrn,
mewn gefyn heirn ffyrnig,
9 I wneuthur arnynt union farn,
yn gadarn Scrifennedig.
Dymma'r glân ardderchogrwydd fydd
iw fainct y sydd yn credu;
Clodforwch ôll yr Arglwydd nêf,
O molwch ef am hynny.

## PSALM. 150.

1

MOlwch Dduw yn ei gyssegr lenn,
sef ei ffurfafen nerthol,
2 Molwch ef iw gadernid llym,
ac amlder grym rhagorol.
3 Ar lais udcorn rhowch y mawl hyn,
ar nabl, telyn, tympan.
4 Molwch chwi ef a llawn glôd glau,
a thannau, pibell, organ.

2

5 Ar y symbalau molwch ef,
a rhain a'u llêf yn seingar:
O molwch ef â moliant clau,
ar y Symbalau llafar.
6 Hôll bethau (molant un Duw byth)
sydd ynthynt chwyth y bywyd.
Rhoent gyd-gerdd foliant i barhau:
clodforwn ninnau hefyd.

TERFYN Y PSALMAU.

---

**Tablennau yn cyfarwyddo at ddechreuad pob un o'r Psalmau yn y llyfr hwn, fel a canlyn.**

## *Y llais gyntaf ymhôb psalm.*

Elisabeth Williams Her hand And pen Give her Grace to Right Again

| Y llain gyntaf ymhôb psalm. | psalm. | dalen. |
|---|---|---|
| Wrth gamwedd dyn annuwiol sur. | 36 | 23 |
| **Y** | | |
| Ymgyfoded un Duw nêr. | 68 | 42 |
| Yn ty nghalon ni bu falch chwŷd. | 131 | 88 |
| Yn Juda, ac yn Israel dir. | 76 | 49 |
| Yn Nuw ymlawenhewch igŷd. | 66 | 41 |
| Yn wir dâ Duw i Israel. | 73 | 47 |
| Y Tŷ ni adeilado'r nêr. | 127 | 87 |
| Yr Arglwŷdd Dduw ŷw ein Brenin. | 99 | 65 |
| Yr Arglwŷdd 'pia'r ddaiar lawr. | 24 | 15 |
| Yr Arglwŷdd ydŷw ein pen-rhaith. | 97 | 64 |
| Yr Arglwŷdd ŷw fy mugail clau. | 23 | 14 |
| Yr Arglwŷdd ŷw fy 'ngoleu igŷd. | 27 | 16 |
| Yr un wedd [illegible] y brêf yr Hŷdd. | 42 | 28 |
| Y sawl a drigo doed yn nês. | 91 | 61 |
| Y sawl ni rodia dedwŷdd ŷw. | 1 | 1 |
| Y sawl sŷ deilwng gwŷn ei fŷd. | 32 | 20 |

RHag ofon i'r Llyfr hwn ddigwŷdd i ddwŷlo rhai na fedrant ddeall ffigurau rhifyddiaeth; (A bod wrth hynnŷ agos yn ddi ddeunŷdd iddŷnt.) Gosodais y ffigurau sŷdd ynddo ar lawr ymma yn olynol; A henw pôb nifer ar ei gyfer yn gyflawn air neu eiriau, fel a canlŷn.



1 Un.
2 Dau.
3 Tri.
4 Pedwar.
5 Pump.
6 Chwech.
7 Saith.
8 Wŷth.
9 Naw.
10 Dêg.
11 Unarddeg.
12 Deuddeg.
13 Tri ar ddeg.
14 Pedwar ar ddeg.
15 Pymtheg.
16 Un ar bymtheg.
17 Dau ar bymtheg.
18 Tri ar bymtheg.
19 Pedwar [illegible]
20 Ugain.
21 [illegible]
[illegible]
25 Pump ar hugain.
26 Chwech ar hugain.
27 Saith ar hugain.
28 Wŷth ar hugain.
29 Naw ar hugain.
30 Deg ar hugain.
31 Un ar ddeg ar hugain.
32 Deuddeg ar hugain.
33 Triarddeg ar hugain.
34 Pedwar arddeg ar hugain.
35 Pymtheg ar hugain.
36 Unarbymtheg ar hugain.
37 Dauarbymtheg ar hugain.
38 Triarbymtheg ar hugain.
39 Pedwar-arbymtheg ar hugain.
40 Deugain.
41 Un a deugain.
42 Dau a deugain.
43 Tri a deugain.
44 Pedwar a deugain.
45 Pump a deugain.
46 Chwech a deugain.
47 Saith a deugain.
48 Wŷth a deugain.
49 Naw a deugain.
50 Dêg a deugain.
51 Unarddeg a deugain.
52 Deuddeg a deugain.
53 Triarddeg a deugain.
54 Pedwar-arddeg a deugain.
55 Pymtheg a deugain.
56 Unarbymtheg a deugain.
57 Dauarbymtheg a deugain.
58 Triarbymtheg a deugain.
59 Pedwararbymtheg a deug.
60 Tri ugain.
61 Un a thriugain.
62 Dau a thriugain.
63 Tri a thriugain.
64 Pedwar a thriugain.
65 Pump a thriugain.
66 Chwech a thriugain.
67 Saith a thriugain.
68 Wŷth a thriugain.
69 Naw a thriugain.
70 Dêg a thriugain.
71 Unarddeg a thriugain.
72 Deuddeg a thriugain.

Tri-

73 Triarddeg a thriugain.
74 Pedwararddeg a thriugain
75 Pymtheg a thriugain.
76 Unarbymtheg a thriugain.
77 Dauarbymtheg a thriugain
78 Triarbymtheg a thriugain.
79 Pedwar ar bymtheg a thri-
80 Pedwar ugain. (ugain.
81 Un a phedwar ugain.
82 Dau a phedwar ugain.
83 Tri a phedwar ugain.
84 Pedwar a phedwar ugain.
85 Pump a phedwar ugain.
86 Chwech a phedwar ugain.
87 Saith a phedwar ugain.
88 Wŷth a phedwar ugain.
89 Naw a phedwar ugain.
90 Dêg a phedwar ugain.
91 Unarddeg a phedwar uga.
92 Deuddeg a phedwar ugain
93 Triarddeg a phedwar uga.
94 pedwararddeg a phedwar u.
95 Pymtheg a phedwar ugain
96 Unarbymtheg a phedwar u.
97 Dauarbymtheg a pedwar u.
98 Triarbymtheg a phedwar u.
99 pedwar arbymtheg a phed-
100 Cant. (war ugain.
101 Un a chant.
102 Dau a chant.
103 Tri a chant.
104 Pedwar a chant.
105 Pump a chant.
106 Chwech a chant.
107 Saith a chant.
108 Wŷth a chant.
109 Naw a chant.
110 Dêg a chant.
111 Unarddeg a chant.
112 Deuddeg a chant.
113 Triarddeg a chant.
114 Pedwar arddeg a chant.
115 Pymtheg a chant.
116 Unarbymtheg a chant.
117 Dauarbymtheg a chant.
118 Triarbymtheg a chant.
119 pedwararbymtheg achant
120 Chwech ugain.
121 Chwech ugaain ac un.
122 Chwech ugain dau.
123 Chwech ugain a thri.
124 Chwech ugain a phedwar
125 Chwech ugain a phump.
126 Chwech ugain a chwech.
127 Saith ar hugain a chant.
128 Wŷth ar hugain a chant.
129 Chwech ugain a naw.
130 Chwech ugain a dêg.
131 Unarddeg ar hugain a cha.
132 Deuddeg ar hugain a cha.
133 Chwech ugain a thriardd.
134 chwech ugain a phedwar.
135 chwech ugain a phymtheg
136 unarbymtheg a chwechug.
137 chwech ugain a dauarbym.
138 Triarbymtheg arhugain a.
139 pedwar arbymtheg a chw.
140 Cant a deugain.
141 Un a deugain a chant.
142 Dau a deugain a chant.
143 Tri a deugain a chant.
144 Pedwar a deugain a chant
145 Pump a deugain a chant.
146 Chwech a deugain a chant
147 Saith a deugain a chant.
148 Wŷth a deugain a chant.
149 Naw a deugain a chant.
150 Cant a dêg a deugain.

---

Cymerais lawer o boen i geisio gwellau'r Gynghanedd yn y Psalmau ymma; Ac i'r wŷf yn tybied ddarfod i'mi eu gwellhau mewn llawer o fannau.

Rwifi yn meddwl nad oedd ond ychydig feiau arnŷnt pan roddwŷd hwŷ gyntaf mewn cynghanedd yn gymraeg; Oblegŷd y Gŵr a'u trôdd ar fesur cerdd, oedd yn Brydŷdd difai, ac yn ysgolhaig mawr, fel ag a tystiolaetha amrŷw o bethau eraill o'i waith ef: Oedd y beiau oedd ynddŷnt a lithrasant i mewn, drwŷ ddiofalwch a diogi y rhai a gymerasant arnŷnt argraphu'r Psalmau o'r amser bwŷgilŷdd.

Y ffigurau sŷdd ar gornel ucha'r dalennau, sŷ'n dangos y tu dalen wrth ei rifedi.

Y ffigurau sŷdd ar ganol cwr ucha'r ddalen, (wrth y gair Psalm) sŷ'n arwŷddo rhifedi'r Psalm, neu'r Psalmau sŷ'n dechreu ar y tu dalen odditanodd.

Y ffigurau sŷdd rhwng pôb wŷth llain o'r Psalmau, sŷ'n dagos rhifedi'r *Staves* neu'r penhillion yn ddilynol.

Y ffigurau sŷdd wrth ddechreu y lleiniau, sŷdd yn dangos dechreu y Gwersi neu'r Adnodau, fel ag i'r oeddŷnt bôb amser or blaen.

DIWEDD.

